# HYFFORDDWR

YN

EGWYDDORION

Y

# GREFYDD GRISTIONOGOL.

GAN Y DIWEDDAR

BARCH. THOMAS CHARLES, A. B.

"Bod yr enaid heb wybodaeth nid yw dda."*.....*SOLOMON.

YR ARGRAFFIAD CYNTAF YN AMERICA.

UTICA:

ARGRAFFEDIG GAN NORTHWAY & PORTER.

1831.

# HYFFORDDWR.

---

## PENNOD I.

### *Am Dduw, &c.*

CWESTIWN. PWY a'ch gwnaeth chwi?

ATTEB... Duw;—"Efe a'n gwnaeth ac nid ni ein hunain, ei bobl ef ydym, a defaid ei borfa." *Ps.* 100. 3. *Gen.* 1, 26, 27.

C Beth yw Duw?

A "Yspryd yw Duw." *Ioan* 4. 24.

C A oes mwy nag un Duw?

A Un Duw sydd.—"Clyw, O Israel, yr Arglwydd ein Duw ni sydd un Arglwydd." *Deut* 6. 4. i *Tim* 2. 5.

C A oes mwy nag un Person yn y Duwdod?

A "Y mae tri yn tystiolaethu yn y nef; sef y Tad, a'r Gair, a'r Yspryd Glân." I *Ioan* 5. 7. *Mat* 28. 19. 2 *Cor* 13. 13.

C A ydyw pob un o'r Personau hyn yn wir Dduw?

A Ydynt; ogyd-dragywyddol a gogyfuwch.

C Onid dirgelwch mawr yw hwn?

A Ië, dirgelwch mawr i'w gredu ac nid i'w amgyffred; "Mawr yw dirgelwch duwioldeb." I *Tim* 3. 16.

C Beth yw y gweithredoedd a gyfrifir iddynt yn fwyaf priodol?

A Creadigaeth ac etholedigaeth i'r Tad; Prynedigaeth ac eiriolaeth i'r Mab; a Sancteiddiad i'r Yspryd Glân:*—"Etholedigion yn ol rhag-wybodaeth Duw Dad, trwy sancteiddiad yr Yspryd, i ufudd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist." I *Petr* 1. 2.

C A ydyw Duw yn hollalluog?

A Ydyw:—"Canys gyda Duw pob peth sydd bossibl." *Mat* 19. 26.

C A ydyw Duw yn hollwybodol?

A Ydyw;—"Ti a adwaenost fy eisteddiad a'm cyfodiad; dealli fy meddwl o bell. Amgylchyni fy llwybr a'm gorweddfa; a hyspys wyt yn fy holl ffyrdd. Canys nid oes aîr ar fy nhafod, ond wele, Arglwydd, ti a'i gwyddost oll." *Ps* 139. 2, 3, 4.

C A ydyw Duw yn hollbresennol?

A Ydyw;—"I ba le yr âf oddiwrth dy Yspryd? ac i ba le y ffoaf o'th ŵydd? Os dringaf i'r nefoedd, yno yr wyt ti: os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno. Pe cymmerwn adenydd y wawr, a phe trigwn yn eithafoedd y môr; yno hefyd i'm tywysai dy law, ac i'm daliai dy ddeheulaw." *Ps* 139. 7, 8, 9, 10.

C A ydyw Duw yn dragywyddol?

A Ydyw; heb ddechre na diwedd;—"Ti hefyd wyt Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." *Ps* 90. 2. I *Tim* 1. 17.

C A ydyw Duw yn anghyfnewidiol?

---

* Er mai Duwdod y Tri Pherson sydd yn gweithredu pob peth; etto, cyfrifir rhai gweithredoedd yn fwy priodol i'r naill na'r llall; megis, creadigaeth ac etholedigaeth i'r Tad; prynedigaeth ac eiriolaeth i'r Mab; a sancteiddiad i'r Yspryd Glân. I *Cor.* 8. 6. *Gal.* 3. 13. 2 *Thes.* 2. 13.

A Ydyw ;—"Gyd â'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chysgod troedigaeth." *Iago* 1. 17. *Mal* 3. 6.

C A oes mawredd yn Nuw ?

A Oes ;—"Ei fawredd sydd anchwiliadwy." *Ps* 145. 3.

C A ydyw Duw yn ddoeth ?

A Ydyw;—"Y Duw unig ddoeth yw." *Rhuf* 16. 27. *Judas* 25. *Rhuf* 11. 33. *Eph* 3. 19.

C A ydyw Duw yn drugarog ?

A Ydyw ;—"Trugarog a graslawn yw yr Arglwydd," *Ps* 103. 8. a 108. 4. a 86. 15. *Exod* 34. 6. 2 *Cron* 30. 9. *Neh* 9. 17, 31. *Jonah* 4. 2.

C A ydyw Duw yn ffyddlon ?

A Ydyw :—"Ffyddlon yw Duw—y mae yn ammhossibl i Dduw fod yn gelwyddog." I *Cor* 1. 9. a 10. 13. *Heb* 6, 18. I *Ioan* 1. 9. *Exod* 34. 6.

C A ydyw Duw yn sanctaidd ?

A Ydyw; yn berffaith sanctaidd, ac yn casâu pechod ;—"Ydwyt lanach dy lygaid nag y gelli edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd." *Hab* 1. 13.

C A ydyw Duw yn gyfiawn ?

A Ydyw ; yn anfeidrol gyfiawn ac a gospa bechod :—"Cyfiawn yw yr Arglwydd yn ei holl ffyrdd, a sanctaidd yn ei holl weithredoedd" *Ps* 145. 17.

C A ydyw Duw ya dda ?

A Ydyw, ym mhob peth :—"Da ac uniawn yw yr Arglwydd :—Canys ti, O Arglwydd, ydwyt dda, a maddeugar :. ac o fawr drugaredd i'r rhai oll a alwant arnat," *Ps* 25. 8. a 86. 5.

# PENNOD II.

## *Am Greadigaeth Dyn.*

CWESTIWN. PA beth a greodd Duw heblaw dyn?

ATTEB... Duw a greodd bob peth yn y nefoedd a'r ddaear:—"Myfi yw yr Arglwydd sydd yn gwneuthur pob peth, yn estyn y nefoedd fy hunan, yn lledu y ddaear o honof fy hun." *Esa* 44. 14. *Act* 14. 15.

C O ba beth y creodd Duw y pethau hyn?

A O ddim:—"Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw, yn gymmaint nad o bethau gweledig y gwnaed y pethau a welir." *Heb* 11. 3.

C I ba ddiben y creodd Duw y byd?

A I'r diben i amlygu ei ogoniant ei hun:—"Yr Arglwydd a wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun." *Diar* 16. 4.

C A ydyw Duw yn cynnal ac yn llywodraethu y byd a greodd?

A Ydyw: yn cynnal ac yn llywodraethu ar bob peth:—"Yr Arglwydd a barottôdd ei orseddfa yn y nefoedd: a'i frenhiniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth." *Ps* 103. 19. *Col* 1. 17.

C Mewn pa faint o amser y creodd Duw y byd?

A Mewn chwe' diwrnod. *Exod* 20. 11.

C Pa beth a wnaeth Duw y seithfed dydd?

A Efe a orphwysodd, ac a'i sancteiddiodd ef. *Gen* 2. 3.

C A ddylem ninnau wneuthur yr un fath ?
A Dylem ; yn ol esampl a gorchymyn Duw.
C Pwy oedd y dyn cyntaf ?
A Adda. I *Cor* 15. 45.
C Pwy oedd y wraig gyntaf ?
A Efa. *Gen* 3. 20.
C Pa sawl rhan sydd mewn dyn ?
A Dwy ran, sef corph ac enaid :—"Yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu, ac y dychwel yr Ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef." *Preg* 12. 7.
C O ba beth y creodd Duw gorph dyn ?
A O bridd y ddaear. *Gen* 2. 7.
C Pa fodd y creodd Duw enaid dyn ?
A "A Duw a anadlodd yn ei ffroenau anadl einioes, a'r dyn a aeth yn enaid byw." *Gen* 2. 7.
C O ba beth y gwnaeth Duw Efa ?
A O asen Adda, tra yr oedd efe yn cysgu. *Gen* 2. 21. 22.
C Ym mha le y gosododd Duw y dyn wedi ei greu ?
A Y'ngardd Eden, i'w llafurio ac i'w chadw, ac i arglwyddiaethu dros holl greaduriaid y byd hwn. *Gen* 1. 29, 30. a 2. 15.

## PENNOD III.

### *Am Gwymp Dyn, &c.*

CWESTIWN. YM mha gyflwr y creodd Duw ddyn ?
ATTEB....Mewn cyflwr sanctaidd a dedwydd:

"Felly Duw a greodd y dyn ar ei ddelw ei hun, ar ddelw Duw y creodd efe ef: yn wrryw ac yn fenyw y creodd efe hwynt." *Gen.* 1. 27. *Eph* 4. 24. *Col* 3. 10.

C A barhaodd dyn yn y cyflwr hwn?

A Na ddo:—"Dyn mewn anrhydedd nid arhosodd." *Ps* 49. 12.

C I ba gyflwr y syrthiodd dyn?

A I gyflwr pechadurus a thruenus:—"Wele, mewn anwiredd i'm lluniwyd,ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." *Ps* 51. 5. *Preg* 7. 29.

C Pa fodd y syrthiodd dyn?

A Trwy anufuddhau gorchymyn Duw. *Gen* 3. 11.

C Beth oedd y gorchymyn a roddodd Duw iddo?

A Peidio a bwytta o ffrwyth pren gwybodeth da a drwg. *Gen* 2. 17.

C A oedd ar y dyn eisiau ffrwyth y pren gwaharddedig?

A Nac oedd; canys rhoddwyd iddo o ffrwyth pob pren arall o'r ardd i'w fwytta. *Gen* 2. 16.

C Paham y gwaharddwyd hwn iddo?

A I brofi ei ufudd-dod i ewyllys Duw.

C Pwy a hudodd y dyn i anufuddhau i'r gorchymyn esmwyth hwn?

A Y dyn a hudwyd gan y wraig, a'r wraig gan y sarph. *Gen* 3. 11, 12, 13, *&c.*

C Beth fu y canlyniad o'i anufudd-dod?

A Efe a fu farw, ac a gollodd ddelw Duw ym mha un y crewyd ef.—"Ond o bren gwybodaeth da a drwg na fwytta o hono;

oblegid yn y dydd y bwyttai o hono gan farw y byddi farw." *Gen* 2. 17.

C Beth sydd i ni ddeall wrth y farwolaeth hon ?

A 1. *Marwolaeth ysprydol* yr enaid, sef ei hollol ymadawiad oddiwrth Dduw.—"A chwithau a fywhaodd efe pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau." *Eph* 2. 1.

2 *Marwolaeth naturiol*, sef ysgariad y corph a'r enaid oddiwrth eu gilydd dros amser:—"Gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hynny bod barn." *Heb* 9. 27.

3. *Marwolaeth dragywyddol*, sef yr hyn oll a ddioddefir mewn corph ac enaid am bechod i dragywyddoldeb:—"Cyflog pechod yw *marwolaeth*—A'r rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol: ond y rhai cyfiawn i fywyd tragywyddol." *Rhuf* 6, 23. *Mat* 25. 46.

C Beth a gollodd dyn ?

A Delw Duw. *Gen* 1, 27.

C Beth sydd i ni ddeall wrth ddelw Duw ?

A Gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd. *Eph* 4. 24. *Col* 3. 10.

C Beth oedd pechod Adda i ni ?

A "Trwy gamwedd un, sef Adda, y daeth barn ar bob dyn i gondemniad." *Rhuf* 5. 18.

C A fu pawb feirw yn Adda ?

A Do:—"Yn Adda y mae pawb yn meirw." I *Cor* 15. 22.

C A all dyn waredu ei hun o'r cyflwr truenus i ba un y syrthiodd ?

A Na all:—"A phan glybu ei ddisgyblion ef hyn synnu a wnaethant yn ddirfawr, gan

ddywedyd, Pwy gan hynny a all fod yn gadwedig ? A'r Iesu a edrychodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Gyda dynion ammhossibl yw hyn, ond gyda Duw pob peth sydd bossibl." *Mat* 19. 25, 26.

C A ydyw Duw wedi ei ddigio trwy bechod?

A Ydyw yn ddirfawr :—"Digofaint Duw a ddadguddiwyd o'r nef yn erbyn pob annuwioldeb ac anghyfiawnder dynion." *Rhuf* 1. 18.

C A ydyw llidiawgrwydd Duw am bechod yn anghymmodol ?

A Ydyw, heb iawn digonol :—" Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." *Heb* 9. 22.

C A all dyn roddi yr iawn digonol mae Duw yn ei ofyn ?

A Na all ; er dioddef byth yn uffern am ei bechod :—"Gwerthfawr yw pryniad eu henaid a hynny a baid byth." *Ps* 49. 8.

C A all efe gyfnewid ei galon bechadurus ?

A Na all ; nid oes ganddo ewyllys na gallu i ymadael â'i bechod :—"A newidia Ethiopiad ei groen, neu y llewpard ei frychni ? felly chwithau, a ellwch wneuthur da, y rhai a gynnefinwyd â gwneuthur drwg." *Jer* 13. 23. *Ps* 51. 10.

C A oes dim mewn dyn yn *haeddu* ymwared oddiwrth Dduw ?

A nac oes, mwy nac sydd mewn gelyn yn haeddu cariad ;—"Oblegid syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw." *Ruf* 8. 7.

C A fyddai yn gyfiawn yn yr Arglwydd adael dyn yn y cyflwr truenus hwn byth ?

A Byddai, yn ddiammau, ei gyfiawnder yn

ogoneddus yn nhragywyddol ddamnedigaeth pechaduriaid :—"Ai anghyfiawn yw Duw, yr hwn sydd yn dwyn arnom ddigofaint? Na atto Duw: canys wrth hynny pa fodd y barna Duw y byd?" *Rhuf* 3. 5, 6. a 9. 14.

Yn Eden cofiaf hynny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith;
  Syrthiodd fy nghoron wiw;
Ond buddugoliaeth Calfari
Ennillodd hon yn ol i mi,
  Mi gana' tra f'wy' byw.

---

## PENNOD IV.

### *Am Berson Crist, a'r Cyfammod Gras, &c.*

CWESTIWN. A ADAWODD Duw ddyn yn y cyflwr truenus i ba un y syrthiodd trwy bechod?

ATTEB....Na ddo:—"Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." *Ioan* 3. 16. *Ps* 136. 23.

C Pwy a anfonodd Duw i wared dyn?

A Ei Fab ei hun:—"Yr hyn ni allai y ddeddf, o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun, y'nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd." *Rhuf* 8. 3.

C Pa bryd yn gyntaf yr amlygodd Duw ei fwriad i anfon Iesu Grist i'r byd?

A I'n rhieni cyntaf ar ol eu cwymp, gan

hyspysu y byddai i Hâd y wraig, sef Crist, ysigo pen y sarph a'u twyllasai hwynt;—"Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng dy hâd di a'i Hâd hithau: Efe a ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef." *Gen* 3. 15.

C Paham y mae Crist yn cael ei alw yn Hâd y wraig?

A 1. Am fod Crist i gymmeryd arno natur dyn:—"Oblegid hynny, gan fod y plant yn gyfrannogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfrannog o'r un pethau." *Heb* 2. 14.

2. Am ei fod i gael ei eni o wraig heb adnabod gwr:—"Wele, morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab, ac a eilw ei enw ef Immanuel." *Esa* 7. 14. *Mat* 1. 23.

C Pwy a feddylir wrth y sarph?

A Y diafol.

C Paham y mae y diafol yn cael ei alw yn sarph?

A 1. Am iddo wneuthur defnydd o'r sarph i hudo ein rhieni cyntaf. *Gen* 3. 1,—7.

2. Oblegid ei falais a'i elyniaeth yn erbyn Duw a'i bobl:—"A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir diafol a satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd." *Dad* 12. 9, 12.

3. Oblegid ei ddichellion a'i gyfrwysdra i dwyllo dynion:—"Nid ydym ni heb wybod ei ddichellion ef." 2 *Cor* 2. 11.

C Pa beth sydd i'w ddeall wrth fod ei ben yn cael ei ysigo?

A Y byddai i Grist, yn y natur ddynol, ddattod ei holl weithredoedd, a distrywio ei holl lywodraeth :—"I hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y dattodai weithredoedd y diafol." 1 *Ioan* 3. 8.

C Pa un yw Crist ai Duw ai dyn?

A Y mae Crist yn Dduw ac yn ddyn hefyd :—"Ac yn ddiddadl mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd." 1 *Tim* 3. 16.

C Pa lun y daeth Crist i fod yn Dduw ac yn ddyn hefyd?

A 1. Yr oedd Crist yn Dduw erioed yn ei hanfod tragywyddol :—"Yn y dechreuad yr oedd y gair, a'r gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y gair." *Ioan* 1. 23.

2. Dyndod Crist a genhedlwyd trwy yr Yspryd Glân y'nghroth y Forwyn Fair :—"A'r angel a ddywedodd wrthi, Yr Yspryd Glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di, am hynny y peth sanctaidd a enir o honot ti, a elwir yn Fab Duw." *Luc* 1. 35.

C Paham yr oedd yn rhaid i'r Gwaredwr fod yn Dduw ac yn ddyn?

A 1. Heb fod yn Dduw nis gallasai ein gwaredu :—"Nid oes Duw arall ond myfi; yn Dduw cyfiawn, ac yn Achubydd; nid oes ond myfi." *Esa* 45. 21.

2. Heb fod yn ddyn nis gallasai ddioddef a marw drosom:—"Oblegid Crist hefyd unwaith a ddioddefodd dros bechodau, y cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw, wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn

yr Yspryd." 1 *Petr* 3. 18. *Gal* 4. 4, 5. *Heb* 2. 14.

C Pa bethau sydd i'w hystyried y'ngwaith Duw yn anfon ei Fab i waredu pechaduriaid?

A 1. Duw yn nhragywyddoldeb a etholodd ei Fab yn ben-cyfammodwr, ac yn Fechniydd i'w bobl:—"Myfi yr Arglwydd a'th elwais mewn cyfiawnder, ac ymaflaf yn dy law, cadwaf di hefyd, a rhoddaf di yn gyfammod pobl, ac yn oleuni cenhedloedd." *Esa* 42. 6.

2 Duw a roddodd, mewn arfaeth gadarn, ei bobl etholedig iddo i'w prynu a'u gwaredu:—"Mi a eglurais dy enw i'r dynion a roddaist i mi allan o'r byd; eiddot ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi." *Ioan* 17. 6, 12. a 10. 29. a 6. 39, 40.

3. Pan ddaeth cyflawnder yr amser, Duw a ddanfonodd ei Fab i'r byd:—Yr hwn yn wir a ragordeiniwyd cyn sylfaenu y byd; eithr a eglurwyd yn yr amseroedd diweddaf er eich mwyn chwi." 1 *Petr* 1. 20. *Gal* 4. 4, 5.

## PENNOD V.

### *Am y Ddau Gyfammod.*

CWESTIWN. PA sawl cyfammod sydd?

ATTEB....Dau; sef y cyfammod gweithredoedd, a'r cyfammod gras.

C Pa wahaniaeth sydd rhyngddynt?

A 1. Adda oedd y pen-cyfammodwr yn y cyfammod gweithredoedd; eithr Crist yw y

Pen-cyfammodwr yn y cyfammod gras:—"Megis yn Adda mae pawb yn meirw, felly hefyd y'Nghrist y bywheir pawb." 1 *Cor* 15. 22.

2. Trwy gyfiawnder ac ufudd-dod dyn ei hun yr oedd cyfiawnhad a bywyd yn y cyfammod gweithredoedd; eithr trwy gyfiawnder Crist y mae cyfiawnhad a bywyd tragywyddol yn y cyfammod gras:—"Canys y mae Moses yn ysgrifennu am y cyfiawnder syd o'r ddeddf, Mai y dyn a wnel y pethau hynny a fydd byw trwyddynt. Eithr mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dywedyd fel hyn; Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? hynny yw dwyn Crist i waered oddi uchod; neu, pwy a ddisgyn i'r dyfnder? hynny yw dwyn Crist drachefn i fynu oddiwrth y meirw—Eithr pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? Mae y gair yn agos attat, yn dy enau ac yn dy galon; hwn yw gair y ffydd yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu —Yr ydym ni gan hynny yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, heb weithredoedd y ddeddf." *Rhuf* 10. 6, 7, 8. a 3. 28.

3. Nid oedd addewid o faddeuant byth, am y pechod lleiaf yn y cyfammod gweithredoedd; eithr gelwir y pechaduriaid mwyaf i gael maddeuant trwy Grist, yn y cyfammod gras:—"Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd; pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wynned a'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan." *Esa* 1. 18. a 55. 1, 7.

4. Cyn cwymp dyn i bechod y gwnaed y cyfammod gweithredoedd, am fwynhad o'r

bywyd oedd ganddo; eithr ar ol cwymp dyn yr *amlygwyd* y cyfammod gras, am gael bywyd tragywyddol ar ol ei golli. *Gen* ii. a iii.

5. Yr oedd parhad dyn yn y cyfammod gweithredoedd yn sefyll ar ei nerth naturiol ei hun; eithr mae parhad dyn yn y cyfammod gras yn sefyll ar allu, ffyddlondeb, ac eiriolaeth Crist:—"Mi a wnaf â hwynt gyfammod tragywyddol, na throaf oddi wrthynt heb wneuthur lles iddynt; mi a osodaf fy ofn, yn eu calonnau, fel na chiliont oddi wrthyf." *Jer* 32. 40. *Ioan* 10. 28, 29. 1 *Ioan* 2. 2, 19. 2 *Tim* 2. 19. *Phil* 1. 6.

C A oedd offeiriad yn y cyfammod gweithredoedd?

A Nac oedd.

C A oes Offeiriad yn y cyfammod gras?

A Oes.

C Pwy yw?

A Iesu Grist, yr hwn a wnaethpwyd yn Archoffeiriad yn dragywyddol:—"I'r man yr aeth y rhagflaenor drosom ni, sef Iesu, yr hwn a wnaethpwyd yn Archoffeiriad yn dragywyddol yn ol urdd Melchisedec." *Heb* 6. 20.

C A oedd cyfryngwr yn y cyfammod gweithredoedd?

A Nac oedd.

C A oes Cyfryngwr yn y cyfammod gras?

A Oes:—"Canys un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a Dynion, y dyn Crist Iesu." 1 *Tim* 2. 5.

C A oedd mechniydd yn y cyfammod gweithredoedd?

A Nac oedd.

C A oes Mechnïydd yn y cyfammod gras?

A Oes:—"Ar Destament gwell o hynny y gwnawd Iesu yn Fechnïydd." *Heb* 7. 22.

C A oedd prophwyd i'n dysgu yn y cyfammod gweithredoedd?

A Nac oedd.

C A oes Prophwyd i'n dysgu yn y cyfammod gras?

A Oes; mae yr Iesu yn Brophwyd mawr:—"Ac ofn a ddaeth ar bawb: a hwy a ogoneddasant Dduw, gan ddywedyd, Prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith; ac, Ymwelodd Duw â'i bobl." *Luc* 7. 16. a 24. 19. *Act* 3, 23. a 7. 37.

C Pa fath yw y cyfammod gras?

A 1. Mae yn gyfammod *rhad*:—"Meddyginiaethaf eu hymchweliad hwynt, caraf hwynt yn rhad; canys trödd fy nîg oddi wrtho." *Hos* 14. 4.

2. Mae yn gyfammod *sicr*:—"Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symmudant: eithr fy nhrugaredd ni chilia oddi wrthyt, a chyfammod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd sydd yn trugarhau wrthyt." *Esa* 54. 10.

3. Mae yn gyfammod *tragywyddol*, na dderfydd byth:—"Cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi, gwedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr; canys fy holl iechydwriaeth a'm holl ddymuniad yw." 2 *Sam* 23. 5.

4. Mae yn gyfammod *manteisiol*, canys y mae i ni hawl trwyddo yn Nuw a'i holl briodoliaethau: y'Nghrist a holl ddoniau y prynedigaeth; yn yr Yspryd Glân a'i ddoniau; ac o'r

cwbl a gyflawnwyfir yn holl addewidion Duw:—"Mae pob peth yn eiddo chwi, a chwithau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw." 1 *Cor* 3. 21, 23. *Zech* 8. 8. *Heb* 9. 10.

5. Mae yn gyfammod *sanctaidd*, a'r cwbl yn sanctaidd a berthyn iddo:—"I gwblhau y drugaredd â'n tadau, ac i gofio ei sanctaidd gyfammod." *Luc* 1. 72.

---

## PENNOD VI.

### *Am Swyddau Crist.*

CWESTIWN. I BA beth y daeth Iesu Grist i'r byd?

ATTEB...."Gwir yw y gair ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Iesu Grist i'r byd i gadw pechaduriaid." 1 *Tim* 1. 15.

C A ddaeth Crist i'r byd fel y crewyd Adda, y'nghyflawnder ei faintioli?

A Na ddo: eithr ganed ef yn blentyn bach fel eraill; gan ymostwng ym mhob peth i'n gwendidau dibechod:—"Chwi a gewch y dyn bach wedi ei rwymo mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb." *Luc* 2. 12.

C Pa bryd y ganed Crist?

A Y'nghyflawnder yr amser a ordeiniodd Duw, ac a ragfynegwyd gan y prophwydi.—*Gal* 4. 4.

C Pwy oedd ei fam?

A Mair Forwyn. *Mat* 1. 25.

C Ym mha le y ganwyd Crist?

A Ym Methlehem Juda:—"A thithau Bethlehem, tir Juda, nid lleiaf wyt ym mhlith tywysogion Juda: canys o honot ti y daw tywysog, yr hwn a fugeilia fy mhobl Israel." *Mat* 2. 6.

C Ym mha gyflwr y ganed Crist?

A Mewn cyflwr tlawd, mewn ystabl:—"A hi a esgorodd ar ei mab cyntaf-anedig, ac a'i rhwymodd ef mewn cadachau, ac a'i dododd yn y preseb, am nad oedd iddynt le yn y lletty." *Luc* 2. 7.

C A luniwyd Crist yn y groth yn ddibechod?

A Do:—"Am hynny hefyd y peth *sanctaidd* a enir o honot ti a elwir yn Fab Duw." *Luc* 1. 35.

C A fu Crist fyw ei holl fywyd yn ddibechod?

A Do:—"Ni wnaeth bechod ac ni chaed twyll yn ei enau." I *Petr* 2. 22.

C A ufuddhaodd Crist i'w rieni?

A Do—"Fe fu ostyngedig iddynt." *Luc* 2. 51.

C A ddiystyrodd efe ei rieni am eu bod yn dlawd?

A Na ddo; ond gofalodd am ei fam yn ei boenau mwyaf:—"Yr Iesu, gan hynny, pan welodd ei fam, a'r disgybl yr hwn a garai efe yn sefyll gerllaw, a ddywedodd wrth ei fam, O wraig, Wele dy fab, Gwedi hynny dywedodd wrth y disgybl, Wele dy fam. Ac o'r awr honno allan y cymmerodd y disgybl hi i'w gartref." *Ioan* 19. 26, 27.

C A ddylem ni ufuddhau a pharchu ein rhieni yn ol esampl Crist?

A Dylem, ufuddhau iddynt ym mhob peth: "Y plant ufuddhewch i' ch rhieni yn yr Arglwydd: canys hyn sydd gyfiawn, ac yn rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda." *Eph* 6. 1, 2. *Col* 3. 20.

C Beth yw ystyr yr enw Iesu ?

A Gwaredwr :—"Canys ni ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." *Luc* 9. 56.

C Oddiwrth ba beth y mae Iesu yn gwaredu ei bobl ?

A 1. Oddiwrth eu pechodau :—"A thi a elwi ei enw ef Iesu : oblegid efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau." *Mat* 1. 21.

2. Oddiwrth felldith y ddeddf :—"Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom." *Gal* 3. 13.

3. Oddiwrth demtasiynau, profedigaethau a gallu y diafol :—"Nid ymaflodd ynoch demtasiwn, ond un dynol: eithr ffyddlon yw Duw, yr hwn ni ad eich temtio uwchlaw yr hyn a alloch ; eithr â wna ynghyd â'r demtasiwn ddiangfa hefyd, fel y galloch ei ddwyn." I *Cor* 10. 13.

C Beth y mae yr enw Crist yn ei arwyddoccau ?

A Eneiniog.

C Pwy a'i heneiniodd ef ?

A Duw y Tad :—"Ti a geraist gyfiawnder, ac a gaseaist anwiredd ; am hynny i'th eneiniodd Duw, sef dy Dduw di, âg olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillion." *Heb* 1. 9.

C A pha beth yr eneiniwyd ef ?

A "A'r Yspryd Glân ac â nerth." *Act* 10. 38.

C Beth mae eneiniad Crist yn ei arwyddoccau?

A Ei osodiad a'i gymhwysderau i fod yn Brophwyd, yn Offeiriad, ac yn Frenhin i'w eglwys:—"Yspryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf; o herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd i efengylu i'r rhai llariaidd; efe a'm hanfonodd i rwymo y rhai ysig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym." *Esa* 61. 1. *Mat* 3. 16. *Ioan* 3. 34.

C Beth a wna Crist fel Prophwyd?

A Dysgu ei bobl;—"Yr Arglwydd eich Duw a gyfyd i chwi Brophwyd o'ch brodyr; arno ef y gwrandewch ym mhob peth a ddywedo wrthych." *Act* 3. 22. *Deut* 18. 15.

C Pa beth y mae Crist yn ei ddysgu i'w bobl?

A Y mae yn eu dysgu; 1. I adnabod Duw, a'r hwn a anfonodd efe Iesu Grist:—"A hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." *Ioan* 17. 3.

2. I adnabod ei feddwl a'i ewyllys yn ei air: "Trwy yr hwn y bu efe helaeth i ni ym mhob doethineb a deall, wedi iddo hyspysu i ni ddirgelwch ei ewyllys, yn ol ei foddlonrwydd ei hun, yr hon a arfaethasai ynddo ei hun.— Fel y profoch beth yw daionus, a chymmeradwy a pherffaith ewyllys yr Arglwyd." *Eph* 1. 8, 9. *Rhuf* 12. 2. *Eph* 5. 17. *Heb* 8. 11.

3. I adnabod eu hunain fel pechaduriaid:

"A phan ddel (y *Diddanydd*) efe a argyhoedda y byd o bechod." *Ioan* 16. 8.

C Trwy ba foddion y mae Crist yn dysgu?

A Trwy ei air a'i Yspryd :—"Ac i ti er yn fachgen wybod yr Ysgrythyr Lân, yr hon sydd abl i'th wneuthur yn ddoeth i iechydwriaeth, trwy y ffydd sydd y'Nghrist Iesu.—Eithr y *Diddanydd* yr Yspryd Glân, yr hwn a enfyn y Tad yn fy enw i, efe a ddysg i chwi yr holl bethau, ac a ddwg ar gôf i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi." 2 *Tim* 3. 16. *Ioan* 14. 26.

C Beth a wna Crist fel Offeiriad ?

A 1. Offrymmu ei hun yn aberth dros ei bobl :—"A rhodiwch mewn cariad, megis y carodd Crist ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." *Eph* 5. 2.

2. Eiriol dros 'ei bobl yn y nef :—"Ac os pecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyd â'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn, ac efe yw yr iawn dros ein pechodau ni." 1 *Ioan* 2. 1, 2. *Heb* 7. 25. a 9. 24. 1 *Tim* 2. 5.

C Beth a wna Crist fel Brenhin ?

A 1. Darostwng pechaduriaid gwrthnysig i fod yn bobl ufudd iddo :—"Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth, mewn harddwch sancteiddrwydd ; o groth y wawr y mae gwlith dy enedigaeth i ti." *Ps* 110. 3. 2 *Cor* 10 4, 5.

2. Llywodraethu y'nghalonnau ei bobl trwy ras :—"Fel megis y teyrnasodd pechod i farwolaeth, felly hefyd y teyrnasai grâs trwy gyfiawnder i fywyd tragywyddol.—Canys nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi ; oblegid

nid ydych dan y ddeddf eithr dan ras." *Rhuf* 5. 21. a 6. 14.

3. Amddiffyn ei bobl :—"Canys yr Arglwydd yw ein Barnwr, yr Arglwydd yw ein Deddfwr, yr Arglwydd yw ein Brenhin ; efe a'n ceidw." *Esa* 33. 22.

C Beth yw swm yr hyn a wnaeth Crist trosom, ac er ein hiechydwriaeth ?

A Efe a fawrhaod y gyfraith, ac a'i gwnaeth yn anrhydeddus." *Esa* 42. 21.

C Pa fodd y darfu Crist anrhydeddu y gyfraith ?

A Trwy ufuddhau ei gorchymynion a dioddef ei melldithion :—"Efe a'i darostyngodd ei hun gan fod yn ufudd hyd angau, ie, angau y groes." *Phil* 2. 8.

C Beth yw swm y gyfraith ?

A Caru yr Arglwdd â'n holl galon, a'n cymmydog fel ni ein hunain. *Mat* 22. 37. *Luc* 10. 37.

C A garodd Crist Dduw â'i holl galon ?

A Do ; a hynny dan ei ddigofaint mwyaf : "A llefodd yr Iesu â llef uchel, Fy Nuw, Fy Nuw, paham y'm gadewaist ?" *Mat* 27. 46.

C A garodd Crist ei gymmydog fel efe ei hun ?

A Do ; a hynny yn eu gelyniaeth mwyaf yn ei erbyn :—"A'r Iesu a ddywedodd (ar y groes) O Dad, maddeu iddynt : canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." *Luc* 23. 34.

C Paham yr anrhydeddodd Crist y gyfraith?

A Am ei bod yn "sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda." *Rhuf* 7. 12.

C A oedd yn rhaid i Grist ufuddhau a dioddef hefyd ?

A Oedd i dynnu ymaith y felldith, a gweithredu cyfiawnder perffaith i'w bobl :—" Canys Crist yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i bob un sydd yn credu." *Rhuf* 10. 4.

C Paham yr oedd yn rhaid i Grist ddioddef melldithion y gyfraith ?

A Am fod yn gyfiawn i Dduw gospi pechod, a buasai yn anghyfiawn iddo beidio :—"Gweddus oedd iddo ef, o herwydd yr hwn y mae pob peth, a thrwy yr hwn y mae pob peth, wedi iddo ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio tywysog eu hiechydwriaeth hwy trwy ddioddefiadau." *Heb* 2. 10.

C O ba farwolaeth y bu Crist farw ?

A O farwolaeth felldigedig y groes :—"Dioddefodd y groes gan ddiystyru gwaradwydd." *Heb* 12. 2.

C Pwy a groeshoeliwyd gyda Christ ?

A Dau leidr, un ar y llaw ddehau, a'r llall ar yr aswy. *Luc* 23. 33.

C Pwy a'i bwriodd ef i farwolaeth ?

A Pontius Pilat, rhaglaw Judea. *Ioan* 19. 16.

C Ym mha le y croeshoeliwyd Crist ?

A Ar fynydd Calfaria, tu allan i byrth Jerusalem :—" Iesu hefyd, fel y sancteiddiai y bobl trwy ei waed ei hun, a ddioddefodd y tu allan i'r porth." *Heb* 13. 12. *Luc* 23. 33.

C Beth oedd dioddefiadau Crist i ni ?

A Iawn dros ein pechodau ni :—" Yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed

ef, i ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddioddefgarwch Duw; i ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn; fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu." *Rhuf* 3. 25, 26.

C A oedd dioddefiadau Crist yn ddigonol iawn am bechod?

A Oeddent; yn gyflawn, berffaith, a digonol aberth, offrwm, ac iawn dros y rhai oll a gredant ynddo yn yr holl fyd:—"Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni, ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd." 1 *Ioan* 2. 2.

C Pa sicrwydd sydd gennym o hynny?

A Mae ei adgyfodiad a'i dderchafiad yn y nefoedd yn sicrhau hynny:—"Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni." *Rhuf* 4. 26. 1 *Cor* 15. 17,—20. *Phil* 2. 9.

C Ym medd pwy y claddwyd Crist?

A Ym medd newydd Joseph o Arimathea, yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed:—"Efe a wnaeth ei fedd gyd â'r rhai anwir, a chyd â'r cyfoethog yn ei farwolaeth." *Esa* 53. 9. *Mat* 27. 6. *Marc* I5. 46.

C Paham y claddwyd Crist mewn bedd newydd, yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed?

A Fel y byddai ei adgyfodiad yn fwy eglur a sicr;—"Ac a'i rhoddodd mewn bedd wedi ei naddu mewn carreg, yn yr hwn ni roddasid dyn erioed." *Luc* 23. 53.

C Pa bryd y cyfododd Crist?

A Yn fore y trydydd dydd:—"A'i gladdu, a'i gyfodi y trydydd dydd yn ol yr Ysgrythyrau." 1 *Cor* 15. 4.

C A oedd Crist yn abl cyfodi ei hun o'r bedd?

A Oedd:—"Nid oes neb (medd efe) yn cymmeryd fy einioes oddi arnaf fi; ond myfi sydd yn ei dodi i lawr o honof fy hun. Y mae gennyf feddiant i'w dodi i lawr, ac y mae gennyf feddiant i'w chymmeryd hi drachefn." *Ioan* 10. 18.

C A oedd ei adgyfodiad yn profi ei fod yn Dduw yn gystal ag yn ddyn?

A Oedd:—"Ac a eglurwyd yn Fab Duw mewn gallu, yn ol Yspryd sancteiddiad, trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw." *Rhuf* 1. 4.

C A oedd Crist yn gryfach nag angau?

A Oedd; gorchfygodd angau, a dinystriodd yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo;—"O law y bedd yr achubaf hwynt, oddiwrth angau y gwaredaf hwynt: byddaf angau i ti, O angau; byddaf drangc i ti y bedd: cuddir edifeirwch o'm golwg." *Hos* 13. 14. *Heb* 2. 14. 1 *Cor* 15. 21, 22.

C A ydyw Crist yn Arglwydd ar y byw a'r meirw?

A Ydyw;—"Oblegid er mwyn hyn y bu farw Crist, ac yr adgyfododd, ac y bu fyw drachefn hefyd, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd." *Rhuf* 14. 9.

C Pa bryd yr esgynodd Crist i'r nefoedd?

A Ym mhen deugain niwrnod wedi ei adgyfodiad yr esgynodd yn weledig goruwch yr

holl nefoedd, yn fuddugoliaethus ar ei holl elynion, gan gaethiwo caethiwed, ac a dderbyniodd roddion i ddynion." *Act.* 1. 9. *Ps* 68. 18. *Eph* 1. 20, 21. a 4. 8.

C O ba le yr esgynodd Crist ?

A O fynydd yr olew-wydd yn agos i Jerusalem. *Act* 1. 12.

C Beth oedd y weithred ddiweddaf a wnaeth cyn esgyn ?

A Bendithio ei ddisgyblion :—"Ac fe ddarfu *tra yr oedd* efe yn eu bendithio hwynt, ymadael o hono ef oddi wrthynt, ac efe a ddygwyd i fynu i'r nef." *Luc* 24. 51.

C A ddaw Crist drachefn o'r nefoedd ?

A Daw, yn niwedd y byd hwn, i farnu y byw a'r meirw. *Act* 1. 11. a 3. 21.

C A ddichon neb ond Crist yn unig ein hachub ?

A Na ddichon :—" Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall : canys nid oes enw arall dan y nef wedi ei roddi ym mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig." *Act* 4. 12.

## PENNOD VII.

### *Am Ffydd a Chyfiawnhad, &c.*

CWESTIWN. PA fodd y mae i bechadur gael ei gyfiawnhau ger bron Duw ?

ATTEB....Trwy ffydd y'nghyfiawnder Crist yn unig :—" Yr ydym ni gan hynny yn cyfrif

mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn heb weithredoedd y ddeddf." *Rhuf* 3. 28. a 10. 3.

C Ai ni ddichon dyn gael ei gyfiawnhau trwy ei gyfiawnder ei hun?

A Na ddichon: am na fedd y cyfiawnder perffaith y mae y gyfraith yn ei ofyn:—"Eithr yr ydym ni oll megis peth aflan, ac megis bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau: a megis deilen y syrthiasom ni oll; a'n hanwireddau, megis gwynt, a'n dug ni ymaith." *Esa* 64. 6.

C Beth sydd i ni ddeall wrth gyfiawnder Crist?

A Ei ufudd-dod perffaith i'r gyfraith yn ei fywyd, a'r iawn a dalodd yn ei angau:—"Crist hefyd unwaith a ddioddefodd dros bechodau, y cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw. Trwy ufudd-dod un, sef Crist, y gwneir llawer yn gyfiawn." 1 *Petr* 3. 18. *Rhuf* 5. 19.

C Tros bwy y bu Crist farw?

A Tros ei bobl etholedig a roddwyd iddo gan y Tad:—"Yr ydwyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid." *Ioan* 10. 15, 29. a 17. 6.

C Ym mha ystyr y bu Crist farw drostynt?

A Fel eu Mechniydd, yn talu drostynt ac yn marw yn eu lle:—"Efe a archollwyd am ein camweddau ni; efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni." *Esa* 53. 5.

C A gyfrifwyd pechodau ei bobl i Grist?

A Do:—"Yr Arglwydd a roddes arno ef

ein hanwiredd ni i gyd.—Yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." *Esa* 53 6. 2 *Cor* 5. 21.

C Pa fodd y mae cyfiawnder Crist yn dyfod yn eiddo i ni?

A Trwy gyfrifiad o hono gan Dduw, ac undeb â Crist:—"Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder—eithr nid ysgrifenwyd hynny er ei fwyn ef yn unig, ddarfod ei gyfrif iddo; ond er ein mwyn ninnau hefyd, i'r rhai y cyfrifir, y rhai ydym yn credu yn yr hwn a gyfododd Iesu ein Hargl-wydd ni o feirw." *Rhuf* 4. 3, 23, 24.

C Pwy sydd yn cyfiawnhau pechadur?

A "Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau." *Rhuf* 8. 33.

C Beth yw cyfiawnhad?

A Gweithred rasol Duw, yn cyfrif cyfiawn-der Crist trwy ffydd i bechadur:—"A hwy we-di eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd y'Nghrist Iesu.—Un Duw sydd, yr hwn a gyfiawnha yr enwaediad wrth ffydd, a'r dienwaediad trwy ffydd." *Rhuf* 3. 24, 30.

C Pa fodd y mae pechadur yn cael ei ddwyn i undeb â Christ?

A Trwy nerthol weithrediad yr Yspryd Glân, yn cenhedlu ffydd yn yr enaid i ddyfod at Grist, ac i wneuthur derbyniad o hono:—"Gwedi goleuo llygaid eich meddyliau—fel y gwypoch beth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tu ag attom ni y rhai ydym yn credu, yn

ol gweithrediad nerth ei gadernid ef." *Eph* 1. 18, 19. *Rhuf* 10. 17. a 1. 19.

C Beth yw ffydd?

A 1. Yn gyffredinol, credu tystiolaeth Duw yn ei air:—"Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled.—Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw." *Heb* 11. 1, 3.

2. Ffydd gyfiawnhaol, yw credu tystiolaeth Duw am ei Fab yn neillduol, gyd âg ymorphwysiad arno am iachawdwriaeth:—"Yr hwn nid yw yn credu i Dduw, a'i gwnaeth ef yn gelwyddog: oblegid na chredodd y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab. A hon yw y dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol: a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef." 1 *Ioan* 5. 10, 11.

C Pa fath yw cyfiawnder Crist?

A 1. Mae yn gyfiawnder *dwyfol*, Duw yn y cnawd a'i cwblhaodd:—"Ac yr awr hon yr eglurwyd cyfiawnder *Duw* heb y ddeddf wrth gael tystiolaeth gan y ddeddf a'r prophwydi.—A hwn fydd yr enw ar yr hwn y gelwir ef YR ARGLWYDD EIN CYFIAWNDER." *Rhuf* 3. 21. a 1. 17. *Jer* 23. 6. 1 *Cor* 1. 30.

2. Mae yn gyfiawnder *digonol*, na raid ychwanegu atto:—"Yr Arglwydd sydd fodd-lon er mwyn ei gyfiawnder; efe a fawrha y gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus." *Esa* 42. 21.

3. Mae yn gyfiawnder *tragywyddol*:—"Deng wythnos a thriugain a derfynwyd ar dy bobl,

ac ar dy ddinas sanctaidd, i ddibennu camwedd, ac i selio pechodau, ac i wneuthur cymmod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder *tragywyddol.*" *Dan* 9. 24.

4. Mae yn gyfiawnder *rhad*, i bawb ac a bawb a gredant:—"Gwedi eich cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd y'Nghrist Iesu." *Rhuf* 3. 22, 24.

C Beth sydd yn gyssylltedig â chyfrifiad o gyfiawnder Crist?

A 1. Cwbl faddeuant o'r holl bechodau:—"Megis y mae Dafydd yn dadgan dedwyddwch y dyn y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo heb weithredoedd, gan ddywedyd, Dedwydd yw y rhai y maddeuwyd eu hanwireddau, a'r rhai y cuddiwyd eu pechodau; dedwydd yw y gwr nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod iddo." *Rhuf* 4. 6, 7, 8.

2. Derbyniad tragywyddol, a chymmod â Duw:—"Sef bod Duw y'Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." 2 *Cor* 5. 19.

C Pa fath undeb sydd rhwng Crist a'i bobl?

A 1. Undeb *gwirioneddol*:—"A'r gogoniant a roddaist i mi, a roddaist iddynt hwy, fel y byddont un megis yr ydym ni yn un." *Ioan* 17. 22.

2. Undeb goruchel a dirgeledig:—"Oblegid aelodau ydym o'i gorph ef, o'i gnawd ef, ac o'i esgyrn ef—y dirgelwch hwn sydd fawr, eithr am Grist, ac am yr eglwys yr wyf fi yn dywedyd." *Eph* 5. 30, 32.

3. Undeb *anwahanol*, na all na bywyd, nac

angau, na dim arall ei dorri:—"Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf? canys y mae yn ddiogel gennyf, na all nac angau, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na meddiannau, na pethau presennol, na pethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd y'Nghrist Iesu ein Harglwydd." *Rhuf* 8. 36, 38, 39. *Esa* 54. 10.

4. Undeb *manteisiol* iawn:—"Mae pob peth yn eiddo chwi, a chwithau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw." 1 *Cor* 3. 22, 23.

C Pa fanteision a rhagorfreintiau sydd yn dyfod oddiwrth undeb â Christ?

A 1. Mae Crist ei hun yn eiddo i ni yn ei holl berthynasau a'i swyddau; sef yn Gâr, yn Gyfaill, yn Fechnïydd, yn Feddyg, yn Frawd, yn Brynwr, yn Briod, yn Brophwyd, yn Frenhin, yn Arch-offeiriad trugarog, ac yn Ddadleuwr drosom ger bron Duw:—"Canys fe a'n gwnaed ni yn gyfrannogion o Grist, os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." *Heb* 3. 14. *Can* 2. 16. a 5. 16.

2. Mae cyfiawnder Crist yn eiddo i ni, trwy ba un y'n gwaredir oddiwrth ddamnedigaeth, ac y rhoddir i ni hawl i fywyd tragywyddol:—"Eithr yr ydych chwi o hono ef y'Nghrist Iesu, yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth." 1 *Cor* 1. 30. *Rhuf* 8. 1.

3. Trwy undeb â Christ y'n mabwysiadir i fod yn blant i Dduw :—"Ond cynnifer ac a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw ; sef i'r sawl a gredant yn ei enw ef." *Ioan* 1. 12.

4. Trwy undeb â Christ y mae ein bywyd ysprydol, a'n nerth i ddwyn ffrwyth da, er gogoniant i Dduw; megis y mae bywyd a nerth yr aelodau oddiwrth eu hundeb â'r corph, a ffrwyth y canghenau oddiwrth eu hundeb â'r pren :—"Yr hwn sydd yn aros ynof fi, a minnau ynddo yntau, hwnnw sydd yn dwyn ffrwyth lawer: oblegid hebof fi ni ellwch chwi wneuthur dim." *Ioan* 15. 5. *Rhuf* 7. 4.

5. Trwy undeb â Christ y bydd adgyfodiad gogoneddus i'r saint, ac y gwneir hwynt yn gyd-etifeddion â Christ yn y nefoedd :—"Os plant, etifeddion hefyd ; sef etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ; os ydym yn cyd-ddioddef gyd âg ef, fel y'n cyd-ogonedder hefyd." *Rhuf* 8. 17.

C Ym mha gyffelyb y'n gwneir yn gyfrannogion o'r breintiau hyn trwy Grist?

A 1. Megis yr ydym yn Adda yn gyd-gyfrannogion âg ef yn ei gwymp a'i gosp, felly y'n gwneir y'Nghrist yn gyd-gyfrannogion o haeddiant ei holl ddioddefaint ef drosom :—"Oblegid megis yn Adda mae pawb yn meirw, felly hefyd y'Nghrist y bywheir pawb." 1 *Cor* 15. 22.

2. Megis yr halogwyd ac y collwyd ni yn Adda trwy bechod ; felly y'Nghrist y glanheir ac y cedwir ni trwy ffydd :—"Y dyn cyntaf

Adda a wnaed yn enaid byw, a'r Adda diweddaf yn yspryd yn bywhau—ac megis y dygasom ddelw y daearol, ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol." 1 *Cor* 15. 45. 49.

3. Trwy Grist y cawn y cwbl a gollasom yn Adda, a llawer mwy: oblegid bod cyfiawnder Crist yn rhagori mewn daioni ar y drwg sydd mewn pechod:—"Myfi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach.—Lle yr amlhaodd pechod, y rhagor amlhaodd gras." *Ioan* 10. 10 *Rhuf* 5. 20.

## PENNOD VIII.

### *Am Waith yr Yspryd Glân, &c.*

CWESTIWN. BETH yw gwaith yr Yspryd Glân?

ATTEB....Sancteiddio a chyfnewid pechaduriaid i ddelw Duw:—"Nyni a ddylem ddiolch yn wastad i Dduw drosoch chwi, frodyr caredig gan yr Arglwydd, oblegid i Dduw o'r dechreuad eich ethol chwi i iechydwriaeth, trwy sancteiddiad yr Yspryd, a ffydd i'r gwirionedd." 2 *Thes* 2. 13. 1 *Petr* 1. 2. *Luc* 1. 75.

C Pwy mae efe yn ei sancteiddio?

A Holl etholedig bobl Dduw:—"Etholedigion, yn ol rhagwybodaeth Duw Dad, trwy sancteiddiad yr Yspryd, i ufudd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist." 1 *Petr* 1. 2.

C A oes neb yn sanctaidd wrth naturiaeth?

A Nac oes:—"Wele mewn anwiredd y'm uniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy nam arnaf." *Ps* 51. 5. *Job* 14. 4. *Ioan* 3. 6. *Rhuf* 5. 12.

C A ddichon neb fod yn gadwedig heb sancteiddrwydd?

A Na ddichon:—"Heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd." *Heb* 12. 14.

C A ddichon neb sancteiddio pechadur aflan ond yr Yspryd Glân?

A Na ddichon:—"Eithr chwi a olchwyd; eithr chwi a sancteiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhawyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Yspryd ein Duw ni." 1 *Cor* 6. 11.

C Wrth ba enwau y gelwir y cyfnewidiad hwn?

A 1. *Ail-enedigaeth*, am eu bod yn cael eu geni drachefn o Dduw:—"Wedi eich *ail-eni*, nid o hâd llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw, yr hwn sydd yn byw ac yn parhau yn dragywydd." 1 *Petr* 1. 23. *Ioan* 3. 3.

2. *Adgyfodiad*, am fod yr enaid marw mewn pechod yn cael ei fywhau yn ysprydol:—"A chwithau pan oeddych feirw mewn camweddau a dienwaediad eich cnawd, a gyd-fywhaodd efe gyd âg ef, gan faddeu i chwi yr holl gamweddau." *Col* 2. 13. *Eph* 2. 1.

3. *Creadigaeth newydd*, am nad all dim ond anfeidrol allu Duw ei gwblhau:—"Ei waith ef ydym, wedi ein creu y'Nghrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a rag-ddarparodd Duw fel y rhodiem ni ynddynt." *Eph* 2. 10.

4. *Enwaediad y galon*:—"A'r Arglwydd Dduw a enwaeda dy gal[illegible], a chalon dy hâd

i garu yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, er mwyn cael o honot fyw." *Deut* 30. 6. a 10. 6.

5. *Rhoddi calon ac yspryd newydd* :—"Taenellaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch lân; oddiwrth eich holl frynti, ac oddiwrth eich holl eilunod y glanhaf chwi. A rhoddaf i chwi galon newydd, yspryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi; a thynnaf y galon garreg o'ch cnawd chwi, a mi a roddaf i chwi galon gig. Rhoddaf hefyd fy Yspryd o'ch mewn, a gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau, a chadw fy marnedigaethau, a'u gwneuthur." *Ezec* 36. 25, 26, 27. a 11. 19. *Jer* 32. 39.

6. *Dodi y gyfraith yn y meddwl, a'i hysgrifennu yn y galon* :—"Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonnau yr ysgrifennaf hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl." *Heb* 8. 10.

C Pa fodd y mae yr Yspryd Glân yn gweithredu y cyfnewidiad hwn?

A Trwy uno yr enaid â Christ; canys trwy undeb â Christ mae pob gras a rhagor-fraint yn deillio i ni :—"Od oes neb y'Nghrist, y mae efe yn greadur newydd, yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd." 2 *Cor* 5 17.

C Pa fodd mae yr Yspryd Glân yn dwyn pechadur at Grist?

A 1. Trwy argyhoeddi yr enaid o bechod :—"A phan ddêl, efe a argyhoedda y byd o bechod." *Ioan* 16. 8.

2. Trwy amlygu Iesu Grist yn Iachawdwr digonol i bechadur:—"Efe a'm gogonedda i (medd Crist) canys efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi." *Ioan* 16. 14. *Mat* 16. 15, 16, 17. 1 *Cor* 2. 10.

3. Trwy ei nerthu i ymddiried y'Nghrist am iachawdwriaeth:—"Ni all neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu, eithr trwy yr Yspryd Glân." 1 *Cor* 12. 3.

C Beth yw pechod?

A "Anghyfraith yw pechod." 1 *Ioan* 3. 4.

C Beth yw anghyfraith?

A Anghydffurfiad â chyfraith Duw, mewn meddwl, gair, neu weithred; sef, peidio a gwneuthur y peth mae Duw yn ei orchymyn, neu wneuthur yr hyn mae yn ei warafun.

C Pa sawl math o bechod sydd?

A Dau; sef pechod gwreiddiol, a phechod gweithredol.

C Beth yw pechod gwreiddiol?

A Cyfrifiad o bechod cyntaf Adda i ni, a'r felldith ddyledus amdano; ynghyd â llygriad ein holl natur yn ganlynol i hynny:—"Felly gan hynny, megis trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad, felly hefyd trwy gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn i gyfiawnhad bywyd. Oblegid megis trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid, felly trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn." *Rhuf* 5. 18, 19.

C Beth yw pechod gweithredol?

A Troseddiad o gyfraith Duw ar feddwl, gair, neu weithred:—"Pob un sydd yn

gwneuthur pechod, sydd yn gwneuthur anghyfraith." 1 *Ioan* 3. 4.

C Beth sydd yn gynnwysedig mewn gwir argyhoeddiad o bechod?

A 1. Adnabyddiaeth o bechadurusrwydd ein holl natur:—"Canys mi wn nad oes ynof fi, hynny yw yn fy nghnawd, ddim da yn trigo." *Rhuf* 7. 18.

2. Adnabyddiaeth o'r mawr ddrwg sydd mewn pechod:—"Pa fodd y gallaf wneuthur y mawr ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?" *Gen* 39, 9.

3. Cyfiawnhad o uniawn farn Duw yn ein herbyn am bechod:—"Yn dy erbyn di, tydi dy hun, y pechais, ac y gwnaethum y drwg hwn yn dy olwg; fel y'th gyfiawnheir pan lefarych, ac y byddit bur pan farnech." *Ps* 51. 4.

4. Amlygiad o'r angenrheidrwydd am iachawdwriaeth mewn un arall i'n gwaredu oddiwrth y farn ofnadwy hon:—"A cheidwad y carchar a ddywedodd, beth sydd raid i mi ei wneuthur, fel y byddwyf gadwedig? A hwy a ddywedasant wrtho, Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." *Act* 16. 30.

C Trwy ba foddion, yn fwyaf neillduol, mae yr Yspryd Glân yn argyhoeddi yr enaid o bechod?

A 1. "Trwy y ddeddf y mae adnabod pechod." *Rhuf* 3. 20. a 7. 7.

2. Mae yr Yspryd Glân "yn agoryd eu llygaid, ac yn eu troi o dywyllwch i oleuni,

fel yr ymddangoso pechod trwy y gorchymyn yn dra phechadurus." *Act* 26. 18. *Rhuf* 7. 13.

C Beth yw edifeirwch gwirioneddol am bechod?

A Mae gwir edifeirwch yn cynnwys, 1. Gwir ostyngeiddrwydd a thristwch duwiol am bechod:—"Am hynny y mae yn ffiaidd gennyf fi fy hun, ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw." *Job* 42. 6.

2. Casineb mawr at bechod:—"Canys wele hyn yma, eich tristâu chwi yn dduwiol, pa astudrwydd ei faint a weithiodd ynoch; ie, pa amddiffyn; ie, pa sorriant: ie, pa ofn; ie, pa awyddfryd; ie, pa zel; ie, pa ddial!" 2 *Cor* 7. 11.

3. Ymgais dyfal am waredigaeth oddi wrtho:—"Ys truan o'ddyn wyf fi! pwy a'm gwared oddiwrth gorph y farwolaeth hon." *Rhuf* 7. 24.

4. Adnewyddiad yn yspryd eich meddwl:—"Ac ymadnewyddu yn yspryd eich meddwl, a gwisgo y dyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grewyd mewn cyfiawnder a gwir sancteidd-rwydd." *Eph* 5. 23, 24.

5. Dychweliad at Dduw y'Nghrist:—"Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymmer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth." *Esa* 55. 7.

6. Amcan difrifol i ddilyn buchedd newydd; "Ephraim a ddywed, Beth sydd i mi mwyach a wnelwyf âg eilunod." *Hos* 14. 8.

C A fydd neb cadwedig heb wîr edifeirwch am bechod?

A Na fydd:—"Onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll." *Luc* 13. 5.

C A ydyw Duw yn maddeu pechodau yr edifeiriol?

A Ydyw: mae edifeirwch a maddeuant wedi eu cyssylltu yn anwahanol â'u gilydd:—"Hwn a dderchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn Dywysog ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel a maddeuant pechodau." *Act* 5. 31.

C Pa fodd y mae Duw yn maddeu?

A 1. Mae yn maddeu yn *gyfiawn*, trwy Grist:—"Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe, a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddiwrth bob anghyfiawnder." 1 *Ioan* I. 9.

2. Mae yn maddeu yu *rhad*:—"Myfi, myfi yw yr hwn a ddileaf dy gamweddau, er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau." *Esa* 43. 25.

3. Mae yn maddeu y *cwbl*:—"Yr hwn sydd yn maddeu dy *holl* anwireddau; yr hwn sydd yn iachâu dy holl lesgedd." *Ps* 103. 3. *Mic* 7. 19.

4. Mae yn maddeu *am byth*:—"Trugarog fyddaf wrth eu hanghyfiawnderau, a'u pechodau hwynt a'u hanwireddau ni chofiaf ddim o honynt mwyach. *Heb* 8. 12. *Jer* 31. 33.

## PENNOD IX.

### *Am Waith yr Yspryd Glan, &c.*

CWESTIWN. BETH mae yr Yspryd Glân yn ei wneuthur ym mhellach i ddwyn pechadur at Grist?

ATTEB... Amlygu Iesu Grist yn Iachawdwr digonol i bechaduriaid:—"A phan ddêl, efe a argyhoedda y byd o gyfiawnder, am fy mod yn myned at fy Nhad, ac ni'm gwelwch i mwyach." *Ioan* 16. 8, 10.

C Trwy ba foddion mae yr Yspryd Glân yn amlygu Crist?

A Trwy y gair, ac ordinhadau yr efengyl:—"Chwiliwch yr ysgrythyrau—hwynt hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi.—Am hynny ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." *Ioan* 5. 30. *Rhuf* 10. 17.

C Pwy sydd yn derbyn y dadguddiad hwn o Grist?

A 1. Y rhai a wir argyhoeddwyd o bechod:—"Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion." *Mat* 9. 12.

2. Y rhai a wir gyfnewidiwyd gan Yspryd Duw:—"Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Yspryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef: ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysprydol y bernir hwynt." 1 *Cor* 2. 14.

C Pa bethau yn yr Iesu yn fwyaf neillduol mae yr Yspryd Glân yn eu dadguddio i'r enaid?

A 1. Rhagorol fawredd a gogoniant ei Berson :—"A'r gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni; ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." *Ioan* 1. 14.

2. Ei osodiad gan Dduw yn y swydd gyfryngol :—"Oddiwrth Dduw y deilliais ac y daethum i; oblegid nid o honof fy hun y daethum i, ond efe a'm hanfonodd i." *Ioan* 8. 42. a 17. 3.

3. Digonolrwydd ei aberth yn iawn am bechod :—"Megis na ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." *Mat* 20. 28.

4. Anchwiliadwy olud ei ras :—"I mi, y llai na'r lleiaf o'r holl saint, y rhoddwyd y gras hwn, i efengylu ym mysg y cenhedloedd *anchwiliadwy olud* Crist." *Eph* 3. 8. *Col* 1. 19.

5. Ei ewyllysgarwch i dderbyn pechaduriaid :—"Yr hyn oll mae y Tad yn ei roddi i mi a ddaw attaf fi; a'r hwn a ddel attaf fi, nis bwriaf ef allan ddim." *Ioan* 6. 37.

C Pa rai ydynt effeithiau y dadguddiad hwn o Grist?

A 1. Y cariad anwylaf at Grist :—"O herwydd arogl dy enaint daionus, enaint tywalltedig yw dy enw: am hynny y llangcesau a'th garant." *Can* 1. 3. 1 *Petr* 2. 7.

2. Ymwrthodiad cyflawn â phob peth arall, ac ymorphwysiad ar Grist yn unig am iechydwriaeth :—"Ië, yn ddiammau yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd

ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd: er mwyn yr hwn y'm colledwyd ym mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist, ac y'm cair ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd." *Phil* 3. 8, 9.

3. Heddwch tu ag at Dduw:—" Am hynny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae gennym *heddwch* tu ag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist." *Rhuf* 5. 1.

4. Cynnydd mewn gwir sancteiddrwydd:— "Eithr nyni oll âg wyneb agored yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megis mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant, i ogoniant megis gan Ysbryd yr Arglwydd." 2 *Cor* 3. 18.

C Ym mha bethau y gwelir gogoniant Duw yn fwyaf neillduol?

A Gwelir gogoniant Duw—I. Y'ngwaith y greadigaeth:—" Canys ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod." *Rhuf* 1. 20. *Ps*. 19. 1.

2. Gwelir ef yn ogoneddus yn ei ragluniaethau dirgelaidd, yn trefnu ac yn cynnal pob peth yn anfeidrol ddoeth a da:—" Ni adawodd efe mo hono ei hun yn ddi-dyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymhorau ffrwythlon, a llenwi ein calonnau ni â lluniaeth, ac â llawenydd." *Act* 14. 17. *Rhuf* 11. 33.

3. Mae y gyfraith yn gosod allan ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd pur ;—" Mae y ddeddf yn sanctaidd, a'r gorchymyn yn sanctaidd, ac yn gyfiawn, ac yn dda." *Rhuf* 7. 12.

4. Ond, yn wyneb Iesu Grist y gwelir holl briodoliaethau Duw yn disgleirio gyda digyffelyb ogoniant :—" Canys Duw, yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn ein calonnau, i roddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw, yn wyneb Iesu Grist." 2 *Cor* 4. 6.

C Pa briodoliaethau sydd yn ymddangos yn ogoneddus yn wyneb Iesu Grist?

A Holl briodoliaethau y Duwdod; ond yn fwyaf neillduol, I. Ei gariad rhad tragywyddol :—" Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tu ag attom ni, oblegid danfon o Dduw ei unig-anedig Fab i'r byd, fel y byddem byw trwyddo ef." 1 *Ioan* 4. 9.

2. Dyfnder golud doethineb Duw, yn trefnu y fath ffordd anrhydeddus iddo ei hun, a manteisiol i ninnau :—" Fel y byddai yr awr hon yn hyspys i'r tywysogaethau ac i'r awdurdodau yn y nefolion leoedd, trwy yr eglwys, fawr amryw ddoethineb Duw." *Eph* 3. 10.

3. Ei sancteiddrwydd pur, a'i gyfiawnder anfeidrol, yn cospi pechod mor lym ar ei Fab ei hun :—" Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni.—Yr Arglwydd a fynnai ei ddryllio ef; efe a'i clwyfodd." *Esa* 53. 5, 10.

C Pa fodd y mae golwg ar ogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist yn cyfnewid i'r unrhyw ddelw ?

A 1. Trwy edrych ar gariad Duw yn wyneb Iesu Grist, mae yr Yspryd Glân yn tywallt cariad Duw yn ein calonnau :—"Yr ydym ni yn ei garu ef am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." 1 *Ioan* 4. 19.

2. Golwg ar drugaredd faddeuol Duw a'n gwna ninnau o yspryd maddeugar :—"Byddwch gymmwynasgar i'ch gilydd, yn dosturiol, yn maddeu i'ch gilydd, megis y maddeuodd Duw er mwyn Crist i chwithau." *Eph* 4. 32. *Mat* 6. 14, 18, 35. a 5. 44, 55. *Marc* 11. 25.

3. Golwg ar sancteiddrwydd a chyfiawnder dwfol, yn casâu ac yn cospi pechod yn ddiarbed ar ei Fab ei hun, a'n lleinw ninnau â'r casineb eithaf atto :—"A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar breswylwyr Jerusalem, yspryd gras a gweddïau, a hwy a edrychant arnaf fi, yr hwn a wânasant ; galarant hefyd am dano, fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac ymofidiant am dano ef megis un yn gofidio am ei gyntafanedig." *Zech* 12. 10.

C Pa beth ym mhellach mae yr Yspryd Glân yn ei weithredu tu ag at y rhai a sancteiddiwyd ?

A 1. Mae yn eu diddanu yn eu holl dristwch.—"A mi a weddïaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi DDIDDANYDD arall, fel yr arhoso gyda chwi yn dragywyddol." *Ioan* 14. 16.

2 "Mae yr Yspryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hyspryd ni ein bod ni yn blant i Dduw." *Rhuf*. 8. 16.

3. Mae yn eu *selio*, a thrwy hynny yn cryfhau eu ffydd a'u hymroddiad i Dduw:—"Yn yr hwn hefyd, wedi i chwi gredu, y'ch seliwyd trwy Lân Ysbryd yr addewid." *Eph* 1. 13.

4. Mae EFE ynddynt yn ernes o'u hetifeddiaeth dragywyddol:—"Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth ni, hyd bryniad y pwrcas, i fawl ei ogoniant ef." *Eph* 1. 14. 2 *Cor* 1. 22.

5. Mae yn Ysbryd gras a gweddiau ynddynt, ac yn erfyn trostynt âg ocheneidiau annhraethadwy:—"A'r un ffunud y mae yr Ysbryd hefyd yn cynnorthwyo ein gwendid ni: canys ni wyddom ni beth a weddïom megis y dylem: eithr y mae yr Ysbryd ei hun yn erfyn trosom ni âg ocheneidiau annhraethadwy." *Rhuf* 8. 26. *Zech* 12. 10.

6. Mae yn eu cynnorthwyo, ac yn eu harwain:—"Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hynny sydd blant i Dduw." *Rhuf* 8. 14. *Gal.* 5. 18.

7. Mae yn eu dysgu yn holl wirioneddau yr efengyl:—"Eithr y DIDDANYDD yr Ysbryd Glân, yr hwn a enfyn y Tad yn fy enw i, efe a ddysg i chwi yr holl bethau, ac a ddwg ar gôf i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi. Ac efe a'ch tywys i bob gwirionedd.—Trwyddo ef y mae i ni ddyfodfa mewn un Ysbryd at y Tad." *Ioan* 14. 26. a 16. 13. *Eph* 2. 18. a 3. 12.

8. Mae yn eu bywhau ac yn eu cadarnhau mewn nerth yn y dyn oddi mewn, i ddioddef a gwneuthur ewyllys Duw ym mhob peth:—"A'r roddi o hono ef i chwi yn ol cyfoeth ei ogoniant,

fod wedi ymgadarnhau mewn nerth, trwy ei Yspryd ef, yn y dyn oddi mewn." *Eph* 3. 16.

9. Bywha efe eu cyrph, ac a'u hadgyfyd i ogoniant yn y dydd olaf:—"Os Yspryd yr hwn a gyfododd Iesu o feirw sydd yn trigo ynoch, yr hwn a gyfododd Grist o feirw a fywiocca hefyd eich cyrph marwol chwi, trwy ei Yspryd yr hwn sydd yn trigo ynoch." *Rhuf* 8. 11.

C Pa fodd y mae yr Yspryd Glân yn gweithredu yn ei bobl?

A 1. Mae yn gweithredu gyda *nerth anorchfygol* :—" Arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr: gan fwrw dychymmygion i lawr, a phob uchder a'r sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist." 2 *Cor* 10. 4, 5.

2. Mae yn gweithredu yn *rhydd*, yn ol ei ewyllys ei hun:—"Mae y gwynt yn chwythu lle y *mynno*, a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned; felly y mae pob un a'r a aned o'r Yspryd." *Ioan* 3. 8. 1 *Cor* 12. 11.

3. Mae yn gweithredu yn *rhad*, heb ddim ynom ni yn ei gymmell:—"Dyro drachefn i mi o orfoledd dy iechydwriaeth; ac a'th hael Yspryd cynnal fi." *Ps* 51. 12. *Exod* 33. 19. *Rhuf* 9. 15.

C Beth yw ein dyledswydd oddiwrth yr ystyriaethau hyn?

A 1. Gweddio am yr Yspryd Glân:—"Os chwychwi gan hynny, y rhai ydych ddrwg, a

...di rhoddion da i'ch plant; pa faint ...dd eich Tad o'r nef yr Yspryd Glân ...fynno ganddo. *Luc* 11. 13.

...oli Duw yn yr Yspryd:—"Yspryd ...; a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, a... *...ewn yspryd* a gwirionedd." *Ioan* 4. 24.

3. Rhodio yn ol yr Yspryd, a synied pethau yr Yspryd:—"Fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni, y rhai ydym yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Yspryd: canys y rhai sydd yn ol y cnawd, am bethau y cnawd y maent yn syniaw; eithr y rhai sydd yn ol yr Yspryd, am bethau yr Yspryd." *Rhuf* 8. 4, 5.

4. Peidio a chythruddo a *thristau* yr Yspryd Glân:—"Ac na thristêwch Lân Yspryd Duw, trwy yr hwn y'ch seliwyd hyd ddydd prynedigaeth." *Eph* 4. 30.

5. Cydnabod yr Yspryd, yn ddiolchgar, yn ei holl ddoniau, ei gynnorthwyon, a'i gysuron:—"I Dduw byddo y diolch am ei ddawn annhraethol." 2 *Cor* 9. 15. 1 *Thes* 5. 18.

6. Peidio diffodd yr Yspryd yn ei gynhyrfiadau sanctaidd, eithr ufudhau iddo o barodrwydd meddwl:—"Na ddiffoddwch yr Yspryd." 1 *Thes* 5. 19.

**C** Pa rai ydynt ffrwythau yr Yspryd?

**A** "Ffrwythau yr Yspryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hir-ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest: yn erbyn y cyfryw nid oes deddf." *Gal* 5. 22r 24.

C A ddichon neb ddwyn y ffrwythau hyn heb fod yr Yspryd Glân yn trigo ynddynt ?

A 1. Geill fod peth tybyg heb fod yn wir ffrwyth :—" A chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi." 2 *Tim* 3. 5.

2. Geill fod *doniau* yr Yspryd, ond ni eill fod ffrwythau da heb wriddyn da i'w dwyn :—"Ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drwg na phren drwg ddwyn ffrwythau da." *Mat* 7. 18.

C. Pa rai ydynt ffrwythau y cnawd ?

A "Amlwg yw gweithredoedd y cnawd, y rhai ydynt, tor-priodas, godineb, aflendid, anlladrwydd, delw-addoliaeth, swyn-gyfaredd, casineb, cynhenau, gwynfydau, llid, ymrysonau, ymbleidiau, heresiau, cenfigenau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfeddach, a chyffelyb i'r rhai hyn." *Gal* 5. 19, 20, 21.

C A eill y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau fod yn gadwedig ?

A Na allant, heb eu cyfnewid :—"Am y rhai yr wyf yn rhag-ddywedyd wrthych, megis ag y rhagddywedais, na chaiff y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau etifeddu teyrnas Dduw." *Gal* 5. 21.

C A ydyw y rhai a gyfnewidiwyd gan yr Yspryd Glân yn gwbl rydd oddiwrth y cnawd a'i ffrwythau ?

A Ydynt, oddiwrth ei lywodraeth, ond nid oddiwrth ei fod a'i weithrediadau :—"Canys y mae y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr Yspryd, a'r Yspryd yn erbyn y cnawd ; a'r rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, fel na alloch wneuthur beth bynnag a ewyllysioch."— *Gal* 5. 17.

# PENNOD X.

## *Am y Gyfraith.*

Cwestiwn. BETH sydd i'w olygu yn brawf eglur o'n hadnewyddiad gan yr Yspryd Glân?

Atteb....Ufudd-fod parod i holl orchymynion Duw:—"O cherwch fi," medd Crist, "cedwch fy ngorchymynion." *Ioan* 14. 15.

C Pa fodd y syrthiodd dyn?

A Trwy anufudd-dod:—"Trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid." *Rhuf.* 5. 19.

C Pa fodd y cyfiawnheir pechadur ger bron Duw?

A Trwy ufudd-dod a marwolaeth Crist drosto:—"Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni." *Rhuf* 4. 25.

C I ba bêth y mae yr Yspryd yn adnewyddu pechadur?

A I ufud-dod parod ac ewyllysgar:—"I Dduw y byddo y diolch, eich bod chwi gynt yn weision pechod, eithr ufuddhau o honoch o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i chwi." *Rhuf* 6. 17. *Tit* 2. 14.

C Pa reol a roddodd Duw i ni o ufudd-dod?

A Ei ewyllys dadguddiedig, yn enwedig ei gyfraith sanctaidd:—"O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion." *Ioan* 14. 15.

C Beth sydd i'w ddeall wrth gyfraith Duw?

A Y Deg Gorchymyn* a roddwyd i Israel ar fynydd Sinai:—"Efe a fynegodd i chwi ei gyfammod a orchymynodd efe i chwi i'w wneuthur, sef y deng air; ac a'u hysgrifenodd hwynt ar ddwy lech faen." *Deut* 4. 13.

C A oedd Duw gwedi rhoddi y gyfraith o'r blaen i ddyn?

A Oedd, wedi ei rhoddi y'nghalonnau ein rhïnei cyntaf cyn y cwymp. *Gen* 2. 17.

C Paham y rhoddwyd y gyfraith i ddyn wedi y cwymp?

A 1. I ddangos cyfiawn awdurdod Duw i ofyn ufudd-dod, er bod dyn wedi anufuddhau: "Myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, a'th ddug di o dir yr Aipht; ac ni chai gydnabod Duw ond myfi:—ac nid oes iachawdwr ond myfi." *Hos* 13. 4. *Exod* 20. 1, 2.

2. Nid fel y caem ni fywyd trwyddo, ond i ddangos ein bod wedi colli ein bywyd trwy bechod:—"Y ddeddf a ddaeth i mewn fel yr amlhai camwedd." *Rhuf* 5. 20.

---

* Heblaw y Deg Gorchymyn, a elwir y Gyfraith Foesol, am eu bod yn rheol o foesau da, ac yn gosod allan y rhwymedigaeth sydd ar bob dyn i ymddwyn yn gyfiawn ac yn ddifeius tu ag at Dduw a dynion ym mhob peth, ag sydd o dragywyddol barhad—rhoddodd Duw, trwy Moses, i'r Iuddewon, hefyd, Gyfraith Farnedigaethol, yn rheol wladol, âc o'r farnedigaeth a roddid ar bob achos rhwng y bobl â'u gilydd; a'r Gyfraith Seremoniol, yn rheol o'r aberthau a'r pethau cysgodol ag oedd yn perthyn i wasanaeth y deml &c. Y cyfreithiau hyn oeddynt ymarferol yn unig i'r Iuddewon, ond y maent yn athrawiaethol ac yn addysgiadol i ninau, ac i'w dyfal chwilio, a'u hystyried gan bawb hyd ddiwedd y byd.

3. Y ddeddf, trwy ddangos yr anghenrheidrwydd o gyfryngwr oedd ein hathraw ni at Grist. *Gal* 3. 24.

4. I fod yn rheol buchedd sanctaidd:—"Cedwch yn ddyfal ar wneuthur y gorchymyn a'r gyfraith—sef caru yr Arglwydd eich Duw, a rhodio yn ei holl ffyrdd ef, a chadw ei orchymynion ef, a glynu wrtho ef, a'i wasanaethu ef â'ch holl galon, a'ch holl enaid." *Jos* 22. 5. *Mat* 5. 17. 1 *Cor* 9. 21.

C. Beth sydd yn neillduol i'w ystyried ynghylch y Deg Gorchymyn ?

A 1. Awdurdod Duw ynddynt yn ein rhwymo i ufudd-dod:—"Gwrando gan hynny ar lais yr Arglwydd dy Dduw, a gwna ei orchymynion a'i ddeddfau." *Deut* 27. 10. 2 *Bren* 17. 37.

2. Eu bod yn rhwymo yr holl ddyn, corph ac enaid, i ufudd-dod, neu i gospedigaeth am anufudd-dod;—"Canys ni a wyddom fod y ddeddf yn ysyrydol." *Rhuf* 7. 14.

3 Helaethrwydd y gorchymynion yn yr ystyr o honynt:—"Yr ydwyf yn gweled diwedd ar bob perffeithrwydd: ond dy orchymyn di sydd dra ehang." *Ps* 119. 96.

4. Fod awdurdod Duw ym mhob un fel eu gilydd, fel na ellir torri un heb dorri y gyfraith: "Canys pwy bynnag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl." *Iago* 2. 10.

5. Eu bod yn peri pob dyledswydd gwrthwyneb i'r pechodau a waherddir ynddynt; ac yn gwahardd pob pechod croes i'r dyledswyddau a orchymynir ynddynt.

C Pa bethau yn fwyaf neillduol y mae y gyfraith yn eu dangos i ni?

A Gwelir yn y gyfraith fel mewn drych cywir, 1. Anfeidrol sancteiddrwydd, cyfiawnder, a daioni Duw:—"Felly yn wir y mae y ddeddf yn sanctaidd, a'r gorchymyn yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda." *Rhuf* 7. 12. 1 *Tim* 1. 8.

2. Hollol lygriad ac euogrwydd dyn:—"Ynddynt hwy hefyd y rhybuddir dy was: o'u cadw y mae gwobr lawer. Pwy a ddeall ei gamweddau? Glanha fi oddiwrth fy meiau cuddiedig: attal hefyd dy was oddiwrth bechodau rhyfygus, na arglwyddiaethont arnaf." *Ps* 19. 11, 12.

3. Perffeithrwydd cyfiawnder Crist mewn ufudd-dod iddi dros ei bobl:—"Crist yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i bob un a'r sydd yn credu." *Rhuf* 10. 4.

4. Natur gwaith yr Ysbryd Glân ar galon pechadur, yn ei rag-barottoi i ogoniant:—"Hwn yw y cyfammod a ammodaf fi â thŷ Israel ar ol y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd; Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonnau yr ysgrifenaf hwynt: a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwy a fyddant i minnau yn bobl." *Heb* 8. 10.

Dyma Gyfraith o naturiaeth,
Sanctaidd, berffaith, ddoeth, a da;
Gwobr mawr y sydd o'i chadw,
Ac o'i thorri dirfawr bla:
Cyfraith ydyw hon a bery
Tra parhao Duw ei hun,
Cyfraith ga'dd ei gogoneddu,
Yn ufudd-dod Mab y dyn.

# PENNOD XI.

## *Am Swm y Gyfraith.*

CWESTIWN. BETH yw swm y gyfraith?

ATTEB....Cariad: sef caru Duw â'n holl galon, a'n cymmydog fel ni ein hunain:—"A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Car yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl. Hwn yw y cyntaf a'r gorchymyn mawr. A'r ail sydd gyffelyb iddo: Câr dy gymmydog fel ti dy hun. Ar y ddau orchymyn hyn mae yr holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll." *Mat* 22. 37.

C Paham y dylem ni garu Duw?

A 1. Oblegid ei hawddgarwch anfeidrol ynddo ei hun:—"Yr hwn nid yw yn caru, nid adnabu Dduw: oblegid Duw cariad yw." 1 *Ioan* 4. 8, 16.

2. Oblegid ei gariad ef i ni:—"Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." 1 *Ioan* 4. 19.

C Pwy yw y rhai sydd yn caru Duw?

A 1. Y rhai sydd yn gweled y fath ogoniant a chyflawnder ynddo, fel maent yn ei ddewis ef yn rhan, etifeddiaeth, ac yn Arglwydd iddynt byth; yn ol y gorchymyn cyntaf;—"Na fydded i ti dduwiau eraill ger fy mron i." *Exod* 20. 3.

2. Y rhai sydd yn dyfal addoli Duw, mewn yspryd a gwirionedd, yn ol ei feddwl ei hun, ac nid yn ol eu dychymmyg eu hunain; yn ol yr ail orchymyn:—"Na wna i ti ddelw gerfiedig." *Exod* 20. 4, 5, 6.

3. Y rhai sydd yn eu holl ymddygiad yn anrhydeddu Duw a'i enw, a'i ogoniant, a'i achos yn eu calonnau; yn ol y trydydd gorchymyn: "Na chymmer ei enw ef yn ofer." *Exod* 20. 7.

4. Y rhai sydd yn gydwybodol yn neillduo rhan o'u hamser, yn enwedig y Sabboth, i addoli Duw yn gyhoeddus, ac i ddwyn ei achos ym mlaen yn eu calonnau, ac yn y byd; yn ol y pedwerydd gorchymyn;—"Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth," &c.

C Paham y dylem garu ein cymmydog fel ni ein hunain?

A 1. O herwydd fod gorchymyn Duw yn peri hynny:—"Yr holl ddeddf a gyflawnir mewn un gair, sef yn hwn: Câr dy gymmydog fel ti dy hun." *Gal* 5. 14. *Lef* 19. 18.

2. Am fod ein cymmydog yn haeddu ei garu gymmaint a ni ein hunain:—"Pwy sydd yn gwneuthur rhagor rhyngot ti ac arall? a pha beth sydd gennyt a'r nas derbyniaist? ac os derbyniaist, paham yr wyt ti yn gorfoleddu, megis pe bait heb dderbyn?" 1 *Cor* 4. 7.

C A ddylem ni garu pawb yr un fath?

A 1. Dylem garu pawb â chariad o ewyllys da, hyd yn nôd ein *gelynion*:—"Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt, a gweddïwch dros y rhai a wnêl niwed i chwi, ac a'ch erlidiant." *Mat* 5. 44.

2. I rai mae yn ddyledus arnom anwyldeb mwy neillduol:—"Gwnawn dda i bawb, ond yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd." *Gal* 6. 10. *Ps* 15. 2, 3. a 16. 4.

C A ydyw yr Yspryd Glân yn adnewyddu calon pob dyn sydd wir dduwiol, i gariad at Dduw a'i gymmydog ?

A Ydyw :—"Mae yn tywallt cariad Duw yn eu calonnau :—ac yn eu dysgu i garu eu gilydd." *Rhuf.* 5. 5. 1 *Thes* 4. 9.

C Pwy yw y rhai sydd yn caru, eu cymmydog fel hwy eu hunain ?

A 1. Y rhai sydd yn caru, anrhydeddu, ac ufudd-hau i'w rhïeni ; yn ymddwyn yn ostyngedig, gan barchu pawb o'u gwell ; yn ol y pummed gorchymyn :*—"Anrhydedda dy dad a'th fam ; fel yr estyner dy ddyddiau ar

* Y mae y pummed gorchymyn yn gosod allan nid yn unig ein dyledswydd tu ag at ein rhïeni naturiol, sef ein tadau a'n mamau a'n cenhedlodd; eithr y parch a'r anrhydedd mae Duw yn ei ofyn oddi wrthym tu ag at bawb, yn ol eu graddau, ag sydd mewn unrhyw ystyr yn uwch na ni, ac a gyfrifir yn yr ysgrythyr megis rhïeni i ni ; sef ein rhïeni gwladol, y brenhin, a'i lywodraethwyr dano : Ein rhïeni ysprydol, sef gweinidogion gair Duw, a'n hathrawon : Ein rhïeni teuluol; sef bod i bennau pob teulu gael eu hanrhydeddu gan dylwyth y tŷ. Bod i bawb o'n gwell ag sydd goruwch i ni mewn gras, doniau, dysg, neu oedran ; ac i bawb eraill hefyd o'n cydradd, neu fyddo yn is na ni, gael gennym y parch a'r anrhydedd a fyddo yn ddyledus iddynt. A diammau fod rhïeni hefyd yn dyfod dan rwmau y pummed gorchymyn ; sef bod eu hymddygiad hwy yn addas i'w sefyllfa a'r gofal mawr sydd arnynt, fel y byddo y parch a'r anrhydedd ag y mae Duw yn ei orchymyn iddynt, yn gyfiawn ac yn deilwng. Mae pob gorchymyn yn gwrthwynebu rhyw lygredd sydd y'nghalon dyn ; ac yn brawf diammheuol fod dyn yn ei enaid yn hollol lygredig. Ni buasai raid dywedyd wrth y dyn, "Na ladd," oni buasai fod yspryd lladd ynddo; ac "Na odineba," oni buasai fod yspryd godineb ynddo. Y pummed gorchymyn sydd yn taro yn neillduol yn erbyn yr yspryd mawr, diystyrllyd o eraill, sydd wedi cymmerwyd meddiant helaeth o honom,

y ddaear, yr hon y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti." *Exod* 20. 12. *Rhuf* 13. 7.

2. Y rhai nad ydynt yn casâu person eu cymmydog, nac yn ei niweidio ar air na gweithred, ond yn ceisio ei les, a'i ddedwyddwch mewn corph ac enaid; yn ol y chweched gorchymyn: "Na ládd.—Pob un a ddigio wrth ei frawd, heb ystyr, a fydd euog o fran." *Mat* 5. 22.

3. Yr hwn nid yw yn ymhalogi ei hun, nac yn foddion trwy air na gweithred, i halogi diweirdeb ei gymmydog; yn ol y seithfed gorchymyn;—"Na wna odineb.—Pob un sydd yn edrych ar wraig i'w chwennychu hi, mae wedi gwneuthur eisoes odineb â hi yn ei galon." *Mat* 5. 28.

4. Y rhai nid ydynt yn niweidio, ond yn ceisio lles eu cymmydog yn ei feddiannau bydol, fel yr eiddynt eu hunian; yn ol yr wythfed gorchymyn;—"Na ladratta.—Nac edrychwch bob un ar yr eiddoch eich hunain, eithr pob un ar yr eiddo eraill hefyd." *Phil* 2. 4.

5. Y rhai ydynt yn tystiolaethu y gwir wrth eu cymmydog, ac am eu cymmydog; yn ol y nawfed gorghymyn:—"Na ddwg gam

---

fel yr ydym yn bechaduriaid syrthiedig. Aelod cryf, os nid asgwrn cefn yr hen ddyn yw yr yspryd hwn, ag sydd yn ein tebygu yn rhyfedd i'n tad diafol. Yn y cyfnewidiad mae yr Yspryd Glân yn ei weithredu yn ei bobl, mae y gorchymyn hwn yn yr yspryddoldeb o hono (fel pob gorchmyn arall) yn cael ei ysgrifennu yn eu calonnau, "i roddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus."

dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog." *Diar* 12.17. a 19. 5.

6. Y rhai sydd yn foddlon i'w cyflyrau eu hunain, ac yn gwylied ar eu calonnau rhag chwennych dim yn bechadurus sydd eiddo eraill; ond yn dysgu i lafurio yn gywir, i geisio ennill eu bywyd ym mha ryw fuchedd bynnag y rhyngo bodd i Dduw eu galw; yn ol y degfed gorchymyn:—"Na chwennych dŷ dy gymmydog, na chwennych wraig dy gymmydog, na'i was na'i forwyn, nai ŷch na'i asyn, na dim a'r sydd eiddo."

C A ddichon fod gwir waith cadwedigol Yspryd Duw ar enaid dyn, heb gariad?

A Na ddichon:—"Pe llefarem â thafodau dynion ac angelion—a gwybod y dirgelion oll, a phob gwybodaeth, &c. ac heb fod gennyf gariad, nid wyf fi ddim." 1 *Cor* 13. 1, 2.

C Pa fodd y dylem ni garu Duw?

A A'n holl galon, ein holl enaid, ein holl feddwl, ac â'n holl nerth:—"Ti a geri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl nerth, ac â'th holl feddwl." *Luc* 10. 27.

C A ydyw Duw yn haeddu i ni ei garu â'n holl galon?

A Ydyw; mae efe yn anfeidrol goruwch ein cariad, ein bendith, a'n moliant." *Neh* 9.5.

C A ydyw yn bechod i ni beidio caru Duw â'n holl galon?

A Ydyw, yn bechod dirfawr:—"Gwae chwi y Phariseaid; canys yr ydych chwi yn degymmu y mintys, a'r ryw, a phob llysieuyn, ac

yn myned heibio i farn a chariad Duw." *Luc* 11. 42.

C Pa bryd y dylem ni garu Duw?

A Bob amser, ac i dragywyddoldeb:—"Cariad byth ni chwymp ymaith." 1 *Cor* 13.8.

C A ddichon neb gadw y gyfraith hon yn berffaith?

A Na ddichon:—"Mae y ddeddf yn ysprydol, a ninnau yn gnawdol, wedi ein gwerthu dan bechod." *Rhuf* 7. 14. a 8. 7.

C A ydyw ein hanallu i ufuddhau iddi yn bechod?

A Ydyw; canys ein gelyniaeth yn erbyn Duw a dyn yw ein hanallu, yr hyn sydd bechod dirfawr:—"Syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw; canys nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw; oblegid nis gall chwaith." *Rhuf* 8. 7. a 1. 30. *Tit.* 3. 3.

C A ellir dim diddymmu y gyfraith, neu ei chyfnewid?

A Na ellir, oni ellir gwneuthur cyfiawnder yn anghyfiawnder, a sancteiddrwydd yn halogedigaeth:—"Yn wir meddaf i chwi (medd Crist) hyd onid êl y nef a'r ddaear heibio, nid â un iod, nac un tippyn o'r gyfraith heibio hyd oni chwblhaer oll." *Mat* 5. 17. 18.

C Pa fodd y gwaredir ni oddiwrth felldithion y gyfraith?

A Trwy ffydd y'Nghrist yn unig:—"Yr hwn a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf." *Gal* 3. 13.

C Pa fodd mae i ni gael calonnau i garu

Duw, a ninnau wrth naturiaeth yn elynion iddo?

A Mae yr Yspryd Glân yn tywallt cariad Duw y'nghalonnau y rhai sydd yn credu y'Nghrist:—"A gobaith ni chywilyddia, am fod cariad Duw wedi ei dywallt yn ein calonnau ni trwy yr Yspryd Glân, yr hwn a roddwyd i ni." *Rhuf* 5. 5.

C Pa fodd mae yr Yspryd Glân yn tywallt cariad Duw yn ein calonnau?

A 1. Trwy enwaedu ar y galon, a darostwng yr elyniaeth ynom:—"A'r Arglwydd dy Dduw a enwaeda dy galon, a chalon dy hâd, i garu yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, er mwyn cael o honot fyw." *Deut* 30. 6.

2. Trwy amlygu cariad Duw y'Nghrist i bechaduriaid:—"Fel y galloch wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyd â'r holl saint, beth yw y lled, a'r hyd, a'r dyfnder a'r uchder; a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw." *Eph* 3. 18, 19.

3. Trwy ennyn cariad ynom tu ag at Dduw, yr hwn a'n carodd ni mor fawr:—"O herwydd arogl dy enaint daionus, enaint tywalltedig yw dy enw; am hynny y llangcesau a'th garant." *Can* 1. 3. *Ioan* 3. 16.

C Ym mha drefn y rhoddwyd y Deg Gorchymyn?

A 1. Mae Duw yn llefaru pob gorchymyn yn y rhif unigol, wrth bob dyn ar ei ben ei hun;

a gorfydd i bob un roddi cyfrif i Dduw am y trosedd o honynt:—"Felly, gan hynny, pob un o honom drosto ei hun a rydd gyfrif i Dduw." *Rhuf* 14. 12.

2. Rhoddwyd y gorchymynion, gan mwyaf, mewn ffordd naccaol, i wahardd pechodau, yn dangos ein tueddiad cryf i bechod.

3. Rhoddwyd y gorchymynion yn ysgrifenedig ar ddwy lech; sef, ein dyledswydd i Dduw ar y lech gyntaf, yn y pedwar gorchymyn blaenaf; a'n dyledswydd tu ag at ein cymmydog ar yr ail lech, yn y chwech gorchymyn olaf.

Wrth yr orsedd na'd fi feddwl
Am ddim haeddiant tra f'wyf byw,
Nac adduned, na dymuniad,
Na dyledswydd o unrhyw;
Iesu 'n unig tan y fflangell,
Iesu 'n hongian ar y gro's.
Bydded i mi yn ddifyrwch,
O foreuddydd hyd y nos.

## PENNOD XII.

### *Am Foddion Gras, ac Ordinhadau yr Efengyl, &c.*

Cwestiwn. PA rai ydyw y gelynion sydd raid i bob gwir Gristion ymdrechu yn eu herbyn?

Atteb. . . . Y byd, y cnawd, a'r diafol:— "Oblegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn

gwaed a chnawd (*yn unig*) ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysprydol yn y nefolion leoedd." *Eph* 6. 12.

C Beth a feddylir wrth y cnawd?

A Yr anian bechadurus sydd dan y cwymp yn gweithredu ac yn llywodraethu ym mhawb:—"Canys pan oeddym yn y cnawd, gwyniau pechodau, y rhai oedd trwy y ddeddf, oedd yn gweithio yn ein haelodau ni, i ddwyn ffrwyth i farwolaeth." *Rhuf* 7. 5.

C Beth sydd i ni ddeall wrth y byd?

A Pob peth sydd yn y byd, mor belled ag y maent yn dieithro ein calonnau oddiwrth Dduw, ac yn ein rhwystro yn ei waith:—"Canys pob peth a'r sydd yn y byd, megis chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd, nid yw o'r Tad, ond o'r byd y mae." 1 *Ioan* 2. 16.

C Beth a feddylir wrth y diafol?

A Yspryd aflan syrthiedig yw, yn gwrthryfela yn erbyn Duw:—"Yr angelion hefyd, y rhai ni chadwasant eu dechreuad, eithr a adawsant eu trigfa eu hun, a gadwodd efe mewn cadwynau tragywyddol dan dywyllwch, i farn y dydd mawr." *Judas* 6.

C Pa fodd y mae i ni gael goruchafiaeth ar y gelynion hyn?

A 1. Trwy ffydd y'Nghrist, yr hwn a orchfygodd y byd, ysigodd ben y sarph, ac a gondemniodd bechod yn y cnawd:—"Cymmerwch gysur," medd Crist, "myfi a orchfygais

y byd.—Canys yr hyn ni allai y ddeddf o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun, y'nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd.—A Duw y tangnefedd a sathr Satan dan eich traed chwi ar frys." *Ioan* 16. 33. *Rhuf* 8. 3. a 16. 20.

2. Trwy ymgadw oddiwrth bob achlysur i bechod:—"Os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch; eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corph trwy yr Yspryd, byw fyddwch." *Rhuf* 8. 13.

3. Trwy fyw mewn cymmedroldeb beunyddiol, a gwyliadwriaeth:—"Yr wyf yn cospi fy nghorph, ac yn ei ddwyn yn gaeth; rhag i mi mewn un modd wedi i mi bregethu i eraill, fod fy hun yn anghymmeradwy." 1 *Cor* 9. 27.

4. Trwy ddyfal ymarferiad o foddion gras.

C Pa wahaniaeth sydd rhwng ymdrech gras yn erbyn pechod, a chyhuddiadau cydwybod wedi ei goleuo?

A Nid ydyw cydwybod ond yn condemnio pechod, ond mae gwir ras yn ei farwhau:—"A'r rhai sydd eiddo Crist a groeshoeliasant y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau." *Gal* 5. 24.

C A ydyw pawb o blant Duw yn *gorchfygu* y gelynion hyn?

A Ydynt:—"Yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy na chongcwerwyr, trwy yr hwn a'n carodd ni." *Rhuf* 8. 37.

C Pa rai ydyw yr ordinhadau a'r moddion gras a osododd Crist i ni ymarferyd â hwynt?

A 1. Gwrando gair Duw, chwilio yr ysgryth-

yrau:—"Chwiliwch yr ysgrythyrau; canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn medddwl cael bywyd tragywyddol; a hwynt hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi.—Gogwyddwch eich clust a deuwch attaf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid." *Ioan* 5. 39. *Esa* 55. 3.

2. Dyfal weddïo:—"Am hynny nesâwn yn hyderus at orseddfaingc y gras, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras yn gymhorth cyfamserol.—Gan weddïo bob amser, â phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Yspryd." *Heb* 4. 16. *Eph* 6. 18.

3. Arferiad parchus a ffyddiog o'r sacramentau.

C Pa fodd y mae i ni weddïo?

A 1. Yn yr Yspryd:—"Eithr chwychwi, anwylyd, gan eich adeiladu eich hunain ar eich sancteiddiolaf ffydd, a gweddïo yn yr Yspryd Glan." *Judas* 20.

2. Mewn ffydd:—"Eithr gofyned mewn ffydd, heb ammau dim: canys yr hwn sydd yn ammau sydd gyffelyb i donn y môr, a chwelir ac a deflir gan y gwynt." *Iago* 1. 6.

3. Yn ddyfal:—"Eithr gweddi ddyfal a wnaethpwyd gan yr eglwys drosto ef.—Gweddïwch yn ddibaid." *Act* 12. 5. 1 *Thes* 5. 17.

C Yn enw pwy mae i ni weddïo?

A Yn enw Iesu Grist:—"Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, pa bethau bynnag a ofynnoch i'r Tad yn fy enw, efe a'u rhydd i chwi." *Ioan* 16. 23. a 14. 13.

C A ydyw yr Yspryd yn ein cynnorthwyo ni i weddïo?

A Ydyw :—"A'r un ffunud y mae yr Yspryd hefyd yn cynnorthwyo ein gwendid ni; canys ni wyddom ni beth a weddiom megis y dylem; eithr y mae yr Yspryd ei hun yn erfyn trosom ni âg ocheneidiau annhraethadwy." *Rhuf* 8.26.

C Pa sicrwydd sydd gennym y gwrendy Duw ein gweddiau?

A Mae addewid Duw yn sicrhau hynny:—"Gofynwch, a rhoddir i chwi: ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi." *Mat* 7. 7.

C Am ba bethau y mae i ni weddio?

A Am bob peth a berthyn i fywyd a duwioldeb, wedi eu haddaw gan Dduw yn ei air:—"Haul a tharian yw yr Arglwydd Dduw; yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant: ni attal efe ddim daioni oddiwrth y rhai a rodiant yn berffaith." *Ps* 84. 11. 2 *Petr* 1. 3.

C Dros bwy y mae i ni weddio?

A Dros bawb: yn enwedig dros yr holl saint:—"Cynghori yr ydwyf am hynny ym mlaen pob peth, fod ymbiliau, gweddiau, deisyfiadau, a thalu diolch dros bob dyn; dros frenhinoedd, a phawb sydd mewn awdurdod; fel y gallom ni fyw yn llonydd ac yn heddychol, mewn pob duwioldeb ac onestrwydd." 1 *Tim* 2. 1, 2. *Eph* 6. 18.

C Beth yw gair Duw?

A Ysgrythyrau sanctaidd yr Hen Destament a'r Newydd:—"Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder." 2 *Tim* 3. 16.

C Beth sydd i ni ddeall wrth fod yr holl ysgrythyr yn sanctaidd?

A 1. Duw sanctaidd yw awdwr yr holl ysgrythyr:—"Nid trwy ewyllys dyn y daeth gynt brophwydoliaeth, eithr dynion sanctaidd Duw a lefarasant megis y cynhyrfwyd hwynt gan yr Yspryd Glân." 2 *Petr* 1. 21.

2. Mae yr holl ysgrythyr yn sanctaidd yn ei natur;—mae y gorchymynion, yr athrawiaethau, a'r addewidion yn sanctaidd i gyd:—"Gorchymyn yr Arglwydd sydd bur, yn goleuo y llygaid. Ofn yr Arglwydd sydd lân, yn parhau yn dragywydd; barnau yr Arglwydd ydynt wirionedd, cyfiawn ydynt i gyd." *Ps* 19. 8, 9.

3. Trwy y gair mae yr Arglwydd yn sancteiddio pechaduriaid aflan:—"Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd, dy air sydd wirionedd." *Ioan* 17. 17.

C Paham y dylem ni wrando y gair?

A 1. Am mai gair Duw ydyw; ac nid oes neb a ddichon barchu Duw heb barchu ei air:—"Oblegid hyn yr ydym ninnau hefyd yn diolch i Dduw yn ddibaid, o herwydd i chwi, pan dderbyniasoch air Duw, yr hwn a glywsoch gennym ni, ei dderbyn ef nid fel gair dyn, eithr (fel y mae yn wir) yn air Duw, yr hwn hefyd sydd yn nerthol weithio ynoch chwi y rhai sydd yn credu." 1 *Thes* 2. 13.

2. Am "fod ffydd trwy glywed, a chlywed trwy air Dnw." *Rhuf* 10. 17.

3. Am mai gosodiad dwyfol yw pregethiad y gair:—"Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bod creadur." *Marc* 16. 15.

4. Am fod y gair yn ein haddysgu ni yn y pethau a berthynant i'n hiachawdwriaeth:— Canys pa bethau bynnag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt, fel trwy amynedd a diddanwch yr ysgrythyrau y gallem gael gobaith." *Rhuf* 15. 4.

## PENNOD XIII.

*Am y Sacramentau.*

CWESTIWN. PA rai ydyw y sacramentau a ordeiniodd Crist yn ei eglwys?

ATTEB....Y ddau hyn, sef Bedydd, a Swpper yr Arglwydd. *Mat* 28. 19. *Luc* 22. 19, 20.

C Paham yr ordeiniodd Crist sacramentau yn ei eglwys?

A 1. I fod yn arwyddion o bethau ysprydol, i'w gwneuthur yn eglurach i'n deall ni:— "Ac fe gymmerth arwydd yr enwaediad, yn insel cyfiawnder y ffydd." *Rhuf* 4. 11.

2. I gadw coffa o'r pethau hyn yn eglwys Crist yn wastadol. 1 *Cor* 11. 24.

3. I sicrhau a chadarnhau ein ffydd, fel seliau o gyfammod Duw.

C Pa sawl rhan sydd mewn sacrament?

A Dwy; sef yr arwydd gweledig oddi allan, a'r gras ysprydol oddimewn.

C Beth yw yr arwydd oddi allan, neu y ffurf yn y bedydd?

A *Dwfr*, yn yr hwn y bedyddir un—"Yn

enw y Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân." *Mat* 28. 19.

C Beth yw y gras ysprydol oddimewn?

A Marwolaeth i bechod, a genedigaeth newydd i gyfiawnder:—"Claddwyd ni gan hynny gyd âg ef trwy fedydd i farwolaeth (*pechod*) fel megis ag y cyfodwyd Crist o feirw, trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd." *Rhuf* 6. 4.

C Beth mae ein bedyddio yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân yn ei arwyddocau?

A 1. Ein dyled i gredu yn, ac addoli Personau y Drindod yn undod y Duwdod; canys bedyddir ni i bob un o honynt fel eu gilydd. *Mat* 28. 19.

2. Ein proffes o'n hymorphwysiad ar drefn a gwaith y Personau Dwyfol yn unig am iechydwriaeth:—"Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Yspryd Glân a fyddo gyda chwi oll." 2 *Cor* 13. 13.

3. Ein cyflwyniad mewn ffordd o gyfammod i'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân, i fod yn eiddo Duw byth:—"Canys y Duw hwn yw ein Duw ni byth ac yn dragywydd; efe a'n tywys ni hyd angau." *Ps* 48. 14.

C A raid bedyddio mwy nag unwaith?

A Na raid:—"Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll." *Eph* 4. 5, 6.

C Paham y bedyddir plant bychain?

A 1. Am fod Duw mor foddlawn ac

ewyllysgar i'w hachub hwy ag eraill sydd mewn oedran:—"Gadewch i blant bychain ddyfod attaf fi, ac na waharddwch iddynt; canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw." *Marc* 10. 14. *Mat* 18. 14.

2. Yr oeddent yn yr eglwys yn y cynddydd dan bob goruchwyliaeth, ac nid oes un dangosiad yn y Bibl i'w torri allan dan oruchwyliaeth yr efengyl, sydd helaethach ei breintiau.

3. Maent yn ddeiliaid cymmwys o ras ac iechydwriaeth dragywyddol.

---

## PENNÒD XIV.

### *Am Swpper yr Arglwydd.*

CWESTIWN. PAHAM yr ordeiniwyd sacrament Swpper yr Arglwydd?

ATTEB....Er mwyn tragywyddol goffa am aberth dioddefaint Crist, a'r lleshad sydd i'w dderbyn yno:—"Ac wedi iddo ddiolch, efe a'i torrodd, ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwyttewch, hwn yw fy nghorph, yr hwn a dorrir drosoch; gwnewch hyn er coffa am danaf." 1 *Cor* 11. 24.

C Beth yw yr arwydd gweledig yn Swpper yr Arglwydd?

A Bara a gwin:—"Yr Iesu a gymmerth y bara, ac wedi iddo fendithio, efe a'i torrodd, ac a'i rhoddodd i'r disgyblion, ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwyttewch, hwn yw fy nghorph. Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan, a diolch,

efe a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, Yfwch bawb o hwn; canys hwn yw fy ngwaed o'r Testament Newydd, yr hwn a dywelltir dros lawer er maddeuant pechodau." *Mat* 26. 26, 27, 28.

C Beth yw y peth a arwyddocceir?

A Corph a gwaed Crist:—"Phiol y fendith yr hon a fendigwn, onid cymmun gwaed Crist ydyw? Y bara yr ydym yn ei dorri, onid cymmun corph Crist ydyw?" 1 *Cor* 10. 16.

C Beth yw y lleshad sydd i'w gael, trwy ffydd, yn yr ordinhad hon?

A Cryfhau a diddanu ein heneidiau trwy gorph a gwaed Crist, megis mae ein cyrph yn cael trwy fara a gwin:—"Canys fy nghnawd i," medd Crist, "sydd fwyd yn wir, a'm gwaed i sydd ddiod yn wir. Yr hwn sydd yn bwytta fy nghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo fywyd tragywyddol." *Ioan* 6. 54, 55.

C Beth mae torri y bara yn ei arwyddoccau?

A Drylliad corph Crist:—"Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni: cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni." *Esa* 53. 5.

C Beth mae tywalltiad y gwin yn arwyddoccau?

A Tywalltiad gwaed Crist dros ein pechodau ni, a'r iawn a wnaeth trwy hynny:—"Hwn yw fy ngwaed o'r Testament Newydd, yr hwn a dywelltir dros lawer er maddeuant pechodau." *Mat* 26. 28.

C Beth mae rhoddiad yr elfenau i'r cymmunwyr yn ei arwyddo?

A. Fod Duw y Tad yn rhoddi Crist, a Christ yn rhoddi ei hun i bawb a gredant ynddo.—"Yr hwn mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo; a'r hwn nid yw ganddo Fab Duw, nid oes ganddo fywyd." 1 *Ioan* 5. 12.

C Paham y dylem ddyfod i Swpper yr Arglwydd?

A 1. O ufudd-dod i orchymyn Crist: yr hwn a ddwyedodd, "Gwnewch hyn er coffa am danaf." 1 *Cor* 11. 24.

2. I addef Crist a'i groes, a dangos ei farwolaeth fel yr unig iawn am bechod, a'n hunig obaith am ichydwriaeth:—"Canys cynnifer gwaith bynnag y bwyttaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwppan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd oni ddelo." 1 *Cor* 11. 26.

3 I ymborthi trwy ffydd ar Grist, a dangos fy ngghariad tu ag atto, a'm diolchgarwch iddo: "Beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi? Phiol iachawdwriaeth a gymmeraf, ac ar enw yr Arglwydd y galwaf." *Ps* 116. 12, 13.

4. I gymdeithasu â Duw yn aberth ei Fab yn yr ordinhad:—"Ein cymdeithas ni yn wir sydd gyd a'r Tad, a chyd â'i Fab ef, Iesu Grist." 1 *Ioan* 1. 3.

C Beth ddylai y rhai a ddêl i Swpper yr Arglwydd ei wneuthur?

A 1. Holi eu hunain, a ydynt yn wir edifeiriol am y pechodau a aethant heibio:—"Yr awr hon, medd yr Arglwydd, Dychwelwch attaf fi â'ch holl galon, âg ympryd hefyd, ac âg wylofain, ac â galar. A rhwygwch eich

calon ac nid eich dillad; ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw; o herwydd graslawn a thrugarog yw efe, hwyrfrydig i ddigofaint, a mawr ei drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg." *Joel* 2. 12, 13.

2 Yn sicr amcanu dilyn buchedd newydd: "Megis y rhoddasoch eich aelodau yn weision i aflendid, ac anwiredd i anwiredd: felly yr awr hon rhoddwch eich aelodau yn weision i gyfiawnder, i sancteiddrwydd." *Rhuf.* 6 19.

3. A ydynt yn gweled gwerth yn aberth Crist, a'u hanghen hwythau o hono:—"I chwi gan hynny y rhai ydych yn credu mae yn urddas." 1 *Petr* 2. 7.

4. A ydynt yn ymorphwys arno ef yn unig am iachawdwriaeth:—"Wrth Dduw yn unig y disgwyl fy enaid: o hono ef y daw fy eichydwriaeth." *Ps* 62. 1. *Phil* 3. 8, 9.

5. A ydynt yn dyfod gyda diolchus gôf am ei angau:—"Iddo ef yr hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun, ac a'n gwnaeth ni yn frenhinoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef; iddo ef y byddo y gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd, Amen." *Dad* 1. 5, 6. *Ioan* 15. 13. 1 *Ioan* 4. 19.

6. A ydynt yn ymgais am gariad gwirioneddol tu ag at bob dyn:—"Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt, a gweddiwch dros y rhai a wnel niwed i chwi, ac a'ch erlidiant; fel y byddoch blant i'ch Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." *Mat* 5. 23, 24,—44.

C Pa fath yw y rhai sydd yn dyfod i Swpper yr Arglwydd yn annheilwng?

A. 1. Y rhai dilafur am wybodaeth ysprydol i iawn farnu corph yr Arglwydd:—"Canys yr hwn sydd yn bwytta ac yn yfed yn annheilwng, sydd yn bwytta ac yn yfed barnedigaeth iddo ei hun, heb iawn farnu corph yr Arglwydd." 1 *Cor* 11. 29.

2. Y sawl a ymorphwysant ar y cyflawniad allanol yn unig, heb gymdeithas â Duw, a maeth ysbrydol i'w heneidiau trwy yr ordinhád hon:—" Canys i ychydig y mae ymarfer corphorol yn fuddiol; eithr duwioldeb sydd fuddiol i bob peth; a chanddo addewid o'r bywyd y sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd." 1 *Tim* 4. 8.

3. Y rhai sydd yn byw mewn digofaint heb heddychu, ac yn gwneuthur camwedd heb eir unioni;—" Gan hynny os dygi dy rodd i'r allor, ac yno dyfod i'th gof fod gan dy frawd ddim yn dy erbyn: gâd yno dy rodd ger bron yr allor, a dos ymaith, yn gyntaf cymmoder di â'th frawd, ac yna tyred ac offrwn dy rodd." *Mat* 5. 23, 24.

4. Y rhai sydd yn cyndyn barhau mewn pechodau adnabyddus iddynt, er cymmeryd arnynt gyfammodi â Duw yn eu herbyn:— " Dywedasant eiriau, gan dyngu anudon wrth wneuthur ammod." *Hos* 10, 4.

5. Pawb a'r sydd yn gorphwys ar ddim heblaw Crist yn unig am iachawdwriaeth: "Chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Grist,

y rhai ydych yn ymgyfiawnhau yn y ddeddf: chwi a syrthiasoch ymaith oddiwrth ras."—*Gal* 5. 4.

---

## PENNOD XV.

### *Am Adgyfodiad a Derchafiad Crist.*

CWESTIWN. ADDERCHAFWYD Crist ar ol ei ddarostyngiad?

ATTEB....Do;—"Yr hwn a ddisgynodd yw yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawnai bob peth." *Eph* 4. 10.

C. Yn mha bethau mae derchafiad Crist yn gynnwysedig?

A. 1. Yn ei adgyfodiad;—"Crist a gyfodwyd oddiwrth y meirw, ac a wnaed yn flaenffrwyth y rhai a hunasant." 1 *Cor* 15. 20.

2. Yn ei dderchafiad i'r nefoedd;—"O herwydd paham Duw a'i tra derchafodd yntau, ac a roddes iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw." *Phil* 2. 9.

3. Yn ei eisteddiad ar ddeheulaw Duw;—"Gwedi puro ein pechodau trwyddo ef ei hun a eisteddodd ar ddeheulaw y mawredd yn y goruwch leoedd." *Heb* 1. 3.

4. Yn ei ddyfodiad i farnu byd:—"O herwydd iddo osod diwrnod, yn yr hwn y barna efe y byd mewn cyfiawnder trwy y gwr a ordeiniodd efe." *Act* 17. 31.

C I ba ddibenion yr adgyfododd Crist?

A I ddangos, 1. Fod cyfiawnder wedi ei foddloni ganddo ar ran ei bobl :—"Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni." *Rhuf* 4. 25.

2. Fod ei holl elynion wedi eu gorchfygu: "O law y bedd yr achubaf hwynt: oddiwrth angau y gwaredaf hwynt; byddaf angau i ti, O angau; byddaf drangc i ti y bedd; cuddir edifeirwch o'm golwg." *Hos* 13. 14.

3. I dderbyn ei gyfiawn wobr :—"Dangosi i mi lwybr y bywyd; digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." *Ps* 16. 11.

C Pa bryd yr adgyfododd Crist ?

A Y dydd cyntaf o'r wythnos, a'r trydydd dydd wedi ei farwolaeth :—"Mi a draddodais i chwi ar y cyntaf, yr hyn hefyd a dderbyniais farw o Grist dros ein pechodau ni, yn ol yr ysgrythyrau, a'i gladdu a'i gyfodi y trydydd dydd." 1 *Cor* 15. 3, 4. *Mat* 28. 1.

C Pa bryd yr esgynodd Crist i'r nefoedd ?

A Ym mhen deugain niwrnod wedi ei adgyfodiad :—"Ymddangosodd yn fyw i'w ddisgyblion wedi iddo ddioddef, trwy lawer o arwyddion sicr; gan fod yn weledig iddynt dros ddeugain niwrnod, a dywedyd y pethau a berthynent i deyrnas Duw." *Act* 1. 3.

C Pwy oedd gyda Christ yn ei esgyniad ?

A Yr oedd miloedd o angelion, gyda llawen floedd :—"Derchafodd Duw â llawen floedd, yr Arglwydd â sain udgorn." *Ps* 47. 5.

C Paham yr esgynodd Crist i'r nefoedd ?

A. 1. I ymddangos ger bron Duw dros ei

bobl :—"Canys nid i'r cyssegr o waith llaw, portreiad y gwir gyssegr, yr aeth Crist i mewn; ond i'r nef ei hun, i ymddangos yn awr ger bron Duw drosom ni." *Heb* 9. 24.

2. I eiriol drostynt :—"Am hynny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw; gan ei fod yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy."—*Heb* 7. 24.

3. I anfon yr Yspryd Glân attynt :—"Buddiol i chwi fy myned i ymaith; canys onid âf ni ddaw y Diddanydd attoch; eithr os mi a âf, mi a'i hanfonaf ef attoch." *Ioan* 16. 7.

4. I barottoi trigfannau iddynt :—"Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfannau, a phe amgen mi a ddywedaswn i chwi. Yr wyf fi yn myned i barottoi lle i chwi." *Ioan* 14. 2.

5. I dderbyn gogoniant iddo ei hun :—"Ac yr awr hon, O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun, a'r gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd." *Ioan* 17. 5.

C Pa dderchafiad gogoneddus sydd i Grist yn y nefoedd?

A Mae yn eistedd ar ddeheulaw Duw:—"Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfaingc i'th draed." *Ps* 110. 1.

C Beth mae eisteddiad Crist ar ddeheulaw Duw yn arwyddoccau?

A 1. Ei fod wedi gorphwys oddiwrth ei lafur :—"Canys yr hwn a aeth i mewn i'w orphwysfa ef, hwnnw hefyd a orphwysodd oddiwrth ei weithredoedd ei hun, megis y

gwnaeth Duw oddiwrth yr eiddo yntau."—*Heb* 4. 10.

2. Uchder ei dderchafiad:—"Wrth ba un o'r angelion y dywedodd efe un amser, eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfaingc i'th draed." *Heb* 1. 3.

3. Parhad sefydlog o'i ogoniant:—"Eithr hwn wedi offrymmu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw." *Heb* 10. 12, 13, 14.

4. Fod ei deyrnas yn ddisigl, fel efe ei hunan:—"O herwydd paham gan ein bod yn derbyn teyrnas ddisigl, bydded gennym ras, trwy yr hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, gyda gwylder a pharchedig ofn." *Heb* 12. 28.

C Pa bryd yr ymddengys Crist yn fwyaf gogoneddus?

A Pan ddelo i farnu y byd y dydd olaf:—"Yna yr eistedd ar orsedd ei ogoniant." *Mat* 19. 28.

C Pa sicrwydd sydd gennym y bydd barn gyffredinol?

A Mae gair Duw ei hunan yn tystiolaethu hynny:—"Gosodwyd i ddynion farw unwaith ac wedi hynny bod barn." *Heb* 9. 27.

---

## PENNOD XVI.

### *Am Ddydd y Farn, &c.*

**Cwestiwn.** PA bryd y bydd dydd barn?
**Atteb.**...Yn niwedd y byd hwn:—"Megis

gan hynny y cynnullir yr efrau, ac a'u llwyr-losgir yn tân ; felly y bydd yn niwedd y byd hwn. Mab y dyn a ddenfyn ei angelion, a hwy a gynnullant allan o'i deyrnas ef yr holl dramgwyddiadau, a'r rhai a wnant anwiredd; ac a'u bwriant hwy i'r ffwrn dân, ac yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd." *Mat* 13. 40. 41, 42.

C Paham yr ordeiniodd Duw farn gyffredinol ?

A. 1. Fel yr ymddangoso Crist yr hwn a ddirmygwyd yn y byd, yn ogoneddus y'ngwydd pawb :—"Canys Mab y dyn a ddaw yn ngogoniant ei Dad, gyda ei angelion, ac yna y rhydd efe i bawb yn ol ei withred." *Mat* 16. 27.

2. "Efe a ddaw i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu, yn y dydd hwnnw." 2 *Thes* 1. 9. 10.

3. I amlygu i bawb uniondeb rhagluniaeth Duw ;—"Hefyd mi a welais dan yr haul le barn, yno yr oedd annuwioldeb ; a lle cyfiawnder, yno yr oedd anwiredd. Mi a ddywedais yn fy nghalon, Duw a farn y cyfiawn a'r anghyfiawn ; canys y mae amser i bob amcan, ac i bob gwaith yno." *Preg* 3. 16, 17.

4. I ddangos uniondeb ei farn :—"Eithr yn dy galedrwydd, a'th galon ddiedifeiriol, wyt yn trysori i ti dy hun, ddigofaint erbyn dydd digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw." *Rhuf* 2. 5.

C Yn mha ddull daw Crist i'r farn ?

A 1. Mewn dull mawredig iawn :—"Ac mi

a welais orseddfaingc wen fawr, a'r hwn oedd yn eistedd arni, oddiwrth wyneb yr hwn y ffôdd y ddaear a'r nef." *Dad.* 20. 11.

2. Mewn dull gogoneddus iawn:—"Gan ddisgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosaid gogoniant y Duw mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist." *Tit.* 2. 13.

3. Daw yn ddisymmwth:—"Canys, pan ddywedant tangnefedd a diogelwch, yna mae dinystr disymmwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megis gwewyr esgor ar un a fo beichiog; ac ni ddiangant hwy ddim." 1 *Thes* 5. 3.

C Pwy ddaw gyda Christ i'r farn?

A 1. Ei holl saint:—"A daw yr Arglwydd fy Nuw, a'r holl saint gyd âg ef." *Zech.* 14. 5.

2. Yr angelion:—"Ac i chwithau y rhai a gystuddir, esmwythdra gyda ni, yn ymddangosiad yr Arglwydd Iesu o'r nef, gyda ei angelion nerthol; a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." 2 *Thes.* 1. 7, 8.

C Paham y gosodwyd Crist i fod yn farnwr?

A Am ei fod yn perthyn i'w swydd gyfryngol i farnu yn gystal a phrynu ei bobl:—"Y Tad nid yw yn barnu neb: eithr efe a roddes bob barn i'r Mab.—Ac a roddes awdurdod iddo wneuthur barn hefyd, o herwydd ei fod yn Fab dyn." *Ioan* 5. 22, 27.

C Pwy fydd yn cael eu barnu?

A 1. Yr angelion syrthiedig:—"Yr angelion hefyd y rhai ni chadwasant eu dechreuad, eithr a adawsant eu trigfa eu hun, a gadwodd

efe mewn cadwynau tragywyddol dan dywyllwch i farn y dydd mawr." *Judas* 6.

2. Holl blant dynion :—"Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brwadle Crist; fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg." 2 *Cor* 5. 10.

C Wrth ba nodau y bydd Crist yn gwahaniaethu rhwng y cyfiawn a'r anghyfiawn yn y farn?

A 1. Bydd y duwiolion yn adnabyddus wrth eu ffydd a'u ffrwythau :—"Canys (medd Crist wrthynt) bum newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, a rhoisoch i mi ddiod; bum ddieithr, a dygasoch fi gyda chwi; noeth, a dilladasoch fi; bum glaf, ac ymwelsoch â mi; bum y'ngharchar, a daethoch attaf. *Mat* 25. 35, 36.

2. Bydd yr annuwiolion, y goreu o honynt, yn amlwg wrth eu diffyg o ffydd a'i ffrwythau iachusol: dywed Crist wrthynt:—"Ewch oddi wrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barottowyd i ddiafol ac i'w angelion: canys bum newynog, ac ni roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, ac ni roisoch i mi ddiod; bum ddieithr, ac ni'm dygasoch gyda chwi; yn noeth, ac ni'm dilladasoch; yn glaf ac y'ngharchar, ac nid ymwelsoch â mi." *Mat* 25. 41, 43.

Daw dydd o brysur bwyso
  Ar grefydd cyn b'o hir,
Ceir gwel'd gan bwy mae sylwedd,
  A phwy sydd heb y gwir:
O Arglwydd rho im' adnabod
  Ar f' yspryd ol dy law,
Gan's dyna 'r ddelw a'r argraff
  Arddelir ddydd a ddaw.

## PENNOD XVII.

### *Am yr Adgyfodiad, &c.*

CWESTIWN. A ADGYFODIR cyrph y meirw ddydd y farn?

ATTEB. . . . Gwneir.

C Pa sicrwydd sydd gennym o hynny:

A 1. Mae gair Duw yn tystiolaethu hynny: "Mae yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef,: a hwy a ddeuant allan; y rhai a wnaethant dda i adgyfodiad bywyd; ond y rhai a wnaethant ddrwg i adgyfodiad barn." *Ioan* 5. 28, 29.

2. Mae adgyfodiad Crist ei hun yn sicrhau hynny:—"Canys os y meirw ni chyfodir ni chyfodwyd Crist chwaith." 1 *Cor* 15. 16.

3. Am fod cyrph y saint, yn gystal a'u heneidiau, y'nghyfammod Duw, wedi eu prynu a'u huno â Christ, ac yn demlau i'r Yspryd Glân:—"Ac am adgyfodiad y meirw, oni ddarllenasoch yr hyn a ddywedwyd wrthych gan Dduw, gan ddywedyd, Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob? Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw. Oni wyddoch chwi fod eich cyrph yn deml i'r Yspryd Glân." *Mat* 22. 31. 1 *Cor* 6. 1, 19.

C Ym mha gyrph y cyfodir y meirw?

A Yn y corph oedd ganddynt yma yn y byd: "Ar ol fy nghroen i bryfed ddifetha y corph hwn, etto (medd Job) câf weled Duw *yn fy nghnawd.*" *Job* 19. 26. 1 *Cor* 15. 38.

C Pa ragoriaeth fydd i'r cyfiawn yn y farn?

A 1. Rhoddir y blaen i'r cyfiawn yn yr adgyfodiad :—"Y meirw y'Nghrist a gyfodant yn gyntaf." 1 *Thes* 4. 16.

2. Gosodir y cyfiawn ar ddeheulaw Crist, ond yr anghyfiawn ar y llaw aswy :—"Ac a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy." *Mat* 25. 33.

3. Barna y saint y byd annuwiol. 1 *Cor* 6.2.3.

C. Pa fodd y barna y saint y byd?

A 1. Bydd y gwirioneddau a gredasant yn barnu yr annuwiolion am eu hanghredu :—"Y gair a lafarais i (medd Crist) hwnnw a'u barn yn y dydd diweddaf." *Ioan* 12. 48.

2. Bydd eu bywydau sanctaidd yn barnu bywydau ansanctaidd annuwiolion :—"Gwyr Ninifeh a gyfodant i fynu yn y farn gyd â'r genhedlaeth hon, ac a'i condemniant hi; am iddynt edifarhau wrth bregeth Jonas; ac wele un mwy na Jonas yma. Brenhines y dehau a gyfyd yn y farn gyd â'r genhedlaeth hon, ac a'i condemnia hi; am iddi ddyfod o eithafoedd y ddaear i glywed doethineb Solomon: ac wele, fwy na Solomon yma." *Mat* 12. 41. 42. *Luc* 11. 32.

3. Cyfiawnhant farnau uniawn a chywir yr Arglwydd :—"Fel y'th gyfiawnhaer yn dy eiriau, ac y gorfyddech pan y'th farner." *Rhuf* 3. 4.

4. Gorfoleddant a llawenychant oblegid ei farnau ef:—"Ar ol y pethau hyn mi a glywais megis llef uchel gan dyrfa fawr yn y nef, yn dywedyd, Aleluia; iachawdwriaeth, a gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, i'r Arglwydd ein

Duw ni: oblegid cywir a chyfiawn yw ei farnau ef. Ac eilwaith y dywedasant, Aleluia." *Dad* 19. 1. 2.

C Pa fath gyrph fydd i'r saint yn yr adgyfodiad?

A 1. Cyrph disglaer a gogoneddus:—"Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwnelir ef yr un ffurf a'i gorph gogoneddus ef, yn ol y nerthol weithrediad trwy yr hwn y dichon efe, ie, ddarostwng pob peth iddo ei hun." *Phil* 3. 21.

2. Cyrph cwbl berffaith ac anllygredig:—"Efe a heuir mewn llygredigaeth, ac a gyfodir mewn anllygredigaeth." 1 *Cor* 15. 43.

3. Cyrph cryfion, i gyd-weithredu â'n heneidiau heb flino byth:—"Efe a hauir mewn gwendid, ac a gyfodir mewn nerth." 1 *Cor* 15. 43.

4. Cyrph ysprydol a bywiol:—"Efe a heuir yn gorph anianol, ac a gyfodir yn gorph ysprydol." 1 *Cor* 15. 43.

C A fydd i Grist addef ei bobl yn y farn?

A 1. Bydd, yn gyhoeddus iawn, fel ei frodyr, ei blant, a'i briod:—"Pwy bynnag a'm haddefo i (medd Crist) ger bron dynion, Mab y dyn hefyd a'i haddef yntau ger bron angelion Duw. Minnau a'i cyffesaf yntau y'ngwydd fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." *Luc* 12. 8. *Mat* 10. 32.

2. Rhyddha hwynt yn dragywydd oddiwrth eu holl bechodau a'u holl ddirmyg, ac a sych eu dagrau:—"Sych Duw ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni

bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen ni bydd mwyach." *Dad* 21. 4. a 7. 17.

C A fydd dedwyddwch y cyfiawn yn fawr?

A Bydd:—"Hwy a ânt i fywyd tragywyddol." *Mat* 25. 46.

C Ym mha beth bydd dedwyddwch y saint yn y nefoedd yn gynnwysedig?

A 1. Yn eu cyffelybrwydd i'r Arglwydd Iesu yn eu cyrph a'u heneidiau:—"Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo: oblegid ni a gawn ei weled ef megis ag y mae." 1 *Ioan* 3. 2.

2. Yn yr olwg ddisglaer a gânt yn barhaus ar ogoniant Duw:—"Gwyn eu byd y pur o galon, canys hwy a welant Dduw." *Mat* 5. 8.

3. Yn y llawenydd a'r tangnefedd a gânt fyth eu mwynhau:—"Ei arglwydd a ddywedodd wrtho, da, was da a ffyddlawn: buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer; dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." *Mat* 25. 23.

4. Yn yr hyfrydwch diddarfod a gânt yn gwasanaethu a moliannu Duw a'r Oen:—"A phob melldith ni bydd mwyach; ond gorseddfaingc Duw a'r Oen a fydd ynddi hi; a'i weision ef a'i gwasanaethant ef. A hwy a gânt weled ei wyneb ef; a'i enw ef fydd yn eu talcennau hwynt: ac ni bydd nos yno; ac nid rhaid iddynt wrth ganwyll, na goleuni haul: oblegid mae yr Arglwydd Dduw yn goleuo iddynt, a hwy a deyrnasant yn oes oesoedd." *Dad* 22. 3, 4, 5.

C Pa fath gyrph fydd i'r annuwiolion yn y farn?

A Bydd eu cyrph fel eu heneidiau, yn aflan, yn warthus a dirmygedig:—"A llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffroant; rhai i fywyd tragywyddol, a rhai i warth a dirmyg tragywyddol." *Dan* 12. 4.

C Yn mha bethau bydd trueni yr annuwiolion yn gynnwysedig?

A 1. Bydd cywilydd gan y barnwr hwynt, ac a'u diarddel yn y farn:—"Canys pwy bynnag a fyddo cywilydd gaddo fi a'm geiriau yn yr odinebus a'r bechadurus genhedlaeth hon: bydd cywilydd gan Fab y dyn yntau hefyd, pan ddel y'ngogoniant ei Dad, gyd â'r angelion sanctaidd." *Marc* 8. 38. *Mat.* 10. 33. *Luc* 12. 8.

2. Ni bydd iddynt gysur byth yn y radd leiaf:—"Gwae chwi y rhai a chwerddwch yr awrhon; canys chwi a alerwch ac a wylwch." *Luc* 6. 25.

3. Bydd euogrwydd, a digofaint Duw yn eu cydwybodau fel pryf heb farw byth, a thân heb ddiffodd." *Marc* 9. 44, 46, 48.

4. Yn y felldith a ddioddefant, a'r poenydwyr didrugaredd fydd yn eu poenydio byth:—"Y rhai a ddioddefant yn gospedigaeth ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef." 2 *Thes.* 1. 9.

5. Yn eu hollol anobaith o ymwared, na'r esmwythdra lleiaf byth:—"A mwg eu poenedigaeth hwy sydd yn myned i fynu yn oes

oesoedd; ac nid ydynt yn cael gorphwysdra ddydd na nos." *Dad* 14. 11.

C Beth ddylai yr ystyriaeth o'r pethau hyn ddysgu i ni?

A Ein dysgu i weled, 1. Y drwg mawr sydd mewn pechod yn haeddu y fath gospedigaeth ofnadwy:—"Oni wna barnydd yr holl ddaear farn?—A ŵyra Duw farn, neu a ŵyra yrHollalluog gyfiawnder? Nid yw yr Arglwydd yn gweled yn dda wneuthur cam â gwr yn ei fatter." *Gen* 18. 25. *Job* 8. 3. *Galar* 3. 36.

2. I gydnabod rhyfeddol drugaredd Duw yn trefnu noddfa (sef Crist) i ffoi iddi rhag y llid a fydd:—"Trowch i'r amddiffynfa, chwi garcharorion gobeithiol." *Zech* 9. 12.

3. I wneuthur achos ein heneidiau y matter mwyaf ein gofal tra byddom yn y byd:—"Canys pa leshad i ddyn, os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" *Mat* 16. 26.

4. I lafurio yn ddyfal am iachawdwriaeth pechaduriaid:—"A'r doethion a ddisgleiriant fel disgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a droant lawer i gyfiawnder a fyddant fel y sêr byth yn dragywydd." *Dan* 12. 3.

Mi wn fod fy Mhrynwr yn fyw,
A'm prynodd â thaliad mor ddrud;
Fe saif ar y ddaear gwir yw,
Yn niwedd holl oesodd y byd;
Er ised er gwaeled fy ngwedd,
Teyrnasu mae 'Mhrynwr a 'Mrawd,
Ac er fy malurio yn y bedd,
Ca'i weled ef etto yn fy nghnawd.

Wel arno bo'm golwg bob dydd,
A'i daliad anfeidrol o werth;
Gwir awdwr perffeithydd ein ffydd,
Fe'm cynnal ar lwybrau blin serth:
Fy enaid ymestyn mlaen,
Na orphwys nes cyrraedd y tir,
Y Gânaan drag'wyddol ei chân,
Y Sabboth hyfrydol, yn wir.

---

## Y DEG GORCHYMYN.

I. Na fydded i ti dduwiau eraill ger fy mron i.

II. Na wna i ti dy hun ddelw gerfiedig, na llun dim ag y sydd yn y nefoedd uchod; neu yn y ddaear isod, nac yn y dwfr tan y ddaear. Nac ymostwng iddynt, ac nac addola hwynt: oblegid myfi yr Arglwydd dy Dduw wyf Dduw eiddigus, yn ymweled â phechodau y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth o'r rhai a'm casant, ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fy ngorchymynion.

III. Na chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer: canys nid gwirion gan yr Arglwydd yr hwn a gymmero ei enw ef yn ofer.

IV. Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth. Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy holl waith; eithr y seithfed dydd yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw: ar y dydd

hwnnw na wna ddim gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th was, na'th forwyn, na'th anifel, na'r dyn dieithr a fyddo o fewn dy byrth. Canys mewn chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd nef a daear, y môr, a'r hyn oll sydd ynddynt, ac a orphwysodd y seithfed dydd. O herwydd paham y bendithiodd yr Arglwydd y seithfed dydd, ac a'i sancteiddiodd ef.

V. Anrhydedda dy dad a'th fam, fel yr estyner dy ddyddiau ar y ddaear, yr hon a rydd yr Arglwydd dy Dduw i ti.

VI. Na ladd.

VII. Na wna odineb.

VIII. Na ladratta.

IX. Na ddwg gam-dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog.

X. Na chwennych dŷ dy gymmydog, na chwennych wraig dy gymmydog, na'i was, na'i forwyn, na'i ych, na'i asyn, na dim a'r sydd eiddo.

DIWEDD.

# EGLURAAD BYR

AR Y

# DEG GORCHYMYN.

---

*Gan y Parchedig, T. Charles, A. B.*

---

YR ARGRAFFIAD CYNTAF YN AMERICA.

---

'A bydded y geiriau hyn, yr ydwyf yn eu gorchymyn i ti heddyw, yn dy galon—A hysbysa hwynt i'th blant; a chrybwyll am danynt pan eisteddych yn dy dŷ, a phan gerddych ar y ffordd, a phan orweddych i lawr, a phan gyfodych i fynu.' MOSES.

---

UTICA:

ARGRAFFEDIG GAN NORTHWAY A PORTER,

1831.

# EGLURAAD BYR

AR Y

# DEG GORCHYMYN.

---

## *Am y Ddeddf a'r dybenion o'i rhoddiad*

CWESTIWN.

YN mha gyflwr y creodd Duw ddyn?

ATTEB, Mewn cyflwr sanctaidd a dedwydd.

C. A arosodd dyn yn y cyflwr hwnw?

A. Na ddo.

C. I ba gyflwr y syrthiodd dyn?

A. I gyflwr pechadurus a thruenus.

C. Pa fodd y syrthiodd dyn i'r cyflwr hwn?

A. Trwy ei anufudd-dod i Dduw.

C. Pa fodd y gall pechadur gael ei gyfodi o'r cyflwr truenus i ba un y syrthiodd?

A. Trwy ufudd-dod a marwolaeth Crist drosto.

C. Beth yw natur gwaith yr Ysbryd Glân ar eneidiau pechaduriaid?

A. Ufudd-dod parod i ewyllys Duw, ac edifeirwch dwfn am eu hanufudd-dod.

C. Pa reol a roddodd Duw i ni o ufudd-dod?

A. Ei ewyllys dadguddiedig; yn enwedig ei gyfraith sanctaidd.

C. Beth sydd i ni ddeall wrth gyfraith Duw?

A. Y Deg Gorchymyn a roddwyd i Israel ar fynydd Sinai. *Exod.* 31. 18. *Deut.* 4. 13

C. A oedd Duw wedi rhoddi y gyfraith o'r blaen i ddyn?

A. Oedd, wedi ei rhoddi yn nghalonau ein rhieni cyntaf cyn y cwymp. *Gen.* 2. 17.

C. Pa'm y rhoddwyd y gyfraith i ddyn wedi y cwymp?

A. 1. I ddangos cyfiawn awdurdod Duw ar ei greaduriaid, er eu bod hwy wedi ei wrthod ef a'i wasanaeth. *Exod.* 20. 1, 2.

2. I ddangos cyfiawnder, sancteidrwydd, a daioni Duw i fyd tywyll annuwiol, yn rhoddi gorchymynion mor uniawn ac mor dda. *Deut.* 4. 8.

3. Nid fel y caem ni fywyd trwyddi, ond i ddangos ein bod wedi colli ein bywyd trwy bechod. *Rhuf.* 5. 20.

4. Y ddeddf (trwy ddangos yr anghenrheidrwydd o gyfryngwr) oedd ein hathraw ni at Grist. *Gal.* 3. 24.

5. I fod yn ddrych sanctaidd i ddangos i ddyn ei lygredigaeth a'i bechadurusrwydd: 'Trwy y ddeddf y mae adnabod pechod.' *Rhuf.* 7. 7.

6. I ddangos perffeithrwydd cyfiawnder Crist, yr hwn yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i bob un a'r sydd yn credu. *Rhuf.* 10. 3.

7. I ddangos natur gwir waith yr Ysbryd Glân ar eneidiau pechaduriaid; yr hwn sydd

yn 'Ysgrifenu y gyfraith ar eu calonau, ac yn ei dodi yn eu meddyliau.' *Heb.* 8. 10.

8. I fod yn rheol buchedd sanctaidd. *Mat.* 5. 17. 1 *Cor.* 9. 21. *Ios.* 22. 5.

C. Pa bethau sydd yn neillduol i'w hystyried yn nghylch y deg gorchymyn?

A. 1. Awdurdod Duw ynddynt, yn ein rhwymaw i ufudd-dod. *Deut.* 27. 10 2 *Bren.* 17. 37. *Exod.* 31. 18.

2. Eu bod yn rhwymaw yr holl ddyn, corph ac enaid i ufudd-dod, neu i gospedigaeth am anufudd-dod. *Rhuf.* 7. 14.

3. Helaethrwydd y gorchymynion yn yr ystyr o honynt: 'Dy orchymynion di sydd dra ëang.' *Ps.* 119. 96.

4. Fod awdurdod Duw yn mhob gorchymyn fel eu gilydd, fel nas gellir tòri un heb dòri y gyfraith i gyd. *Iago.* 2. 10.

5. Eu bod yn gorchymyn pob dyledswydd croes i'r pechodau a waherddir ynddynt: ac yn gwahardd pob pechod croes i'r dyledswyddau a orchymynir.

C. Beth yw swm y gyfraith?

A. Cyflawnder y gyfraith yw cariad; sef caru Duw â'n holl galon a'n cymmydog fel ni ein hunain. *Rhuf.* 13. 8, 9, 10.

C. Pa'm y dylem ni garu Duw?

A. 1. Oblegid ei hawddgarwch anfeidrol ynddo ei hun. I *Ioan* 4. 8, 16.

2. Oblegid ei gariad ef i ni. 1 *Ioan* 1. 19.

C. Pa'm y dylem ni garu ein cymmydog fel ni ein hunain?

A. 1. O herwydd gorchymyn Duw yn peri hyny. *Mat.* 22. 39. *Ioan* 13. 30. *Lef.* 19. 18.

2. Am fod ein cymmydog yn haeddu ei garu gymaint a ni ein hunain. 1 *Cor*. 4. 7.

C. Pa fodd y dylem garu Duw?

A. A'n holl galon, â'n holl enaid, ein holl feddwl, a'n holl nerth.

C. A oes dim yn Nuw nad yw yn haeddu ei garu?

A. Nac oes dim: ond y mae yn mhob peth yn berffaith hawddgar a gogneddus. *Deut*. 32. 4.

C. Onid ydyw anwybodaeth o Dduw, a chasineb ato, yn bechodau mawrion?

A. Ydynt yn ddiammeu, yn dangos fod dyn yn hollol ddrwg, gan ei fod yn casâu yr hwn sydd hollol dda.

C. Pa fodd y mae i ni gael calon i garu Duw, a ninau wrth naturiaeth yn elynion iddo?

A. Y mae yr Ysbryd Glân yn tywallt cariad Duw yn nghalonau y rhai sydd yn credu yn Nghrist. *Rhuf*. 5. 1, 5.

C. Pa fodd y mae yr Ysbryd Glân yn tywallt cariad Duw yn eu calonau?

A. 1. Trwy eu dysgu i adnabod Duw a'i gariad yn Nghrist i bechaduriad. 1 *Ioan* 4. 19. *Eph*. 3. 18,19.

2. Trwy enwaedu ar y galon a darostwng yr elyniaeth ynom. *Deut*. 30. 6.

3. Trwy ennyn cariad at Dduw, yr hwn a'n carodd ni mor fawr. *Ioan* 3. 16.

C. Pa fodd yr amlygodd Duw ei gariad tu ag atom ni?

A. Yn fwyaf neillduol yn nhrefn fawr Iechydwriaeth yn Nghrist:—'Canys felly y carodd

Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol.' *Ioan* 3. 16. *Rhuf*. 5. 8. 1 *Ioan* 4. 10.

C. Yn mha ddull y rhoddwyd y Deg Gorchymyn?

A. 1. Y mae Duw yn llefaru pob gorchymyn yn y nifer unigol, wrth bob dyn ar ei ben ei hun: a gorfydd i bob un roddi cyfrif i Dduw am y trosedd o honynt. *Rhuf*. 14. 12.

2. Rhoddir y gorchymynion gan mwyaf mewn ffordd nacâol, i wahardd pechodau; yr hyn sydd yn dangos ein tueddiad cryf i bechod.

3. Rhoddwyd y gorchymynion yn ysgrifenedig ar ddwy lech; sef ein dyledswydd i Dduw ar y llech gyntaf, yn y pedwar gorchymyn blaenaf; a'n dyledswydd at ein cymmydog ar yr ail lech, yn y chwe gorchymyn olaf.

4. Rhoddodd Duw y gyfraith mewn dull tanllyd a dychrynadwy iawn. *Exod*. 19. 16 18.

C. Pa'm y rhoddwyd y gyfraith yn y fath fodd dychrynadwy?

A. 1. I ddangos mor danllyd yw digofaint Duw yn erbyn pechod, y troseddiad o'r gyfraith. *Nan*. 1. 5, 6. *Zeph*. 1. 14, 15. *Dad*. 9. 15, 17.

2. I ddangos ein hanghen o gyfryngwr rhyngom a'r Duw cyfiawn a sanctaidd hwn. *Exod*. 20. 18, 19. *Heb*. 8. 6.

3. I'n dysgu i wasanaethu Duw gyda gwyldei a pharchedig ofn; 'Canys ein Duw ni sydd dân ysol.' Heb. 12. 28, 29.

4. I ddangos rhagor gogoniant yr efengyl ar y gyfraith: Gweinidogaeth angeu yw y gyfraith, ond gweinidogaeth bywyd yw yr efengyl. 2. *Cor.* 3. 7, 8, 9,

5. I ddangos mor ddychrynadwy fydd cyflyrau pawb a fyddant yn cyfarfod â Duw, heb Grist y cyfryngwr. *Nah.* 1. 6.

## Y GORCHYMYN CYNTAF.

### CWESTIWN.

BETH yw y rhagymadrodd i'r Deg Gorchymyn?

A. 'Myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, yr 'hwn a'th ddug di allan o wlad yr Aipht, o 'dŷ y caethiwed.'

C. Beth sydd i'w ystyried yn y rhag-ymadrodd hwn?

A. 1. Bod yr Arglwydd yn Dduw i Israel, cyn rhoddi y gyfraith, ar sail yr addewid a chyfammod Duw âg Abraham.

2. Nad yw y gyfraith danllyd a roddwyd wedi yr addewid, ddim yn abl dirymu yr addewid, i'w gwneuthur yn ofer. *Gal.* 3. 17.

3. Fod y ddeddf o neillduol fuddioldeb i etifeddion yr addewid.

4. Fod hawl Duw ynom, a daioni Duw tu ag atom, yn ein rhwymaw i ufudd-dod iddo. *Luc* 1. 74, 75.

C. Beth yw y Gorchymyn cyntaf.

A. 'Na fydded it' dduwiau ereill ger fy 'mron i.'

C. Beth sydd i ni i'w weled am yr Arglwydd yn arych y gorchymyn hwn?

A. 1. Ei Fod a'i Hanfod Dwyfol; y mae efe yn Dduw, a'i hanfod o hono ei hun, ac yn berffaith.

2. Ei anfeidrol gyfiawnder, gan ei fod ef ei hun yn ddigonol gyflawn i ni oll.

3. Ei hawddgarwch a'i berffeithrwydd, yn haeddiannol o'n serch, ein hyder, a'n hufudd-dod fel ein Duw.

4. Ei ddaioni anfeidrol, fel mai ein dedwyddwch penaf ni yw glynu wrtho a'i fwynâu. *Ps* 31. 19.

5. Ei haelioni a'i raslonrwydd, yn rhoddi ei hun yn Dduw i ni cyn galw am ufudd-dod: fel yr edrychem arno ef am rym i ufuddâu. *Ps*. 31. 24.

C. Pa rai yw y dyledswyddau a orchymynir ynddo?

A. 1. Fod y gwir Dduw yn *unig* Dduw i ni. *Ps*. 48. 14. 1 *Cor*. 8. 6. *Ier*. 50. 5.

2. Fod genym iawn wybodaeth o hono. *Esa*. 43. 10. Ioan 17. 3.

3. Bod ein hyder yn unig ynddo. *Ps*. 42. 11.

4. Bod i ni ei ofni, ei garu, ufuddâu iddo, a'i wasanaethu â'n holl galon, ac â'n holl enaid. *Deut*. 10. 12, 13.

C. Pa bechodau a waherddir ynddo?

A. 1. Pob pechod: canys y mae pob troseddiad o gyfraith Duw, yn wrthodiad o Dduw ei hun.

2. Yn neillduol, didduwiaeth ein meddwl a'n buchedd. *Eph.* 2. 12. *Ps.* 14. 1.

3. Gau-dduwiaeth. *Hos.* 13. 4.

4. Addoli creaduriaid, neu ymddiried ynddynt. *Dad.* 22. 8, 9.

5. Ymgynghori â swynwyr, consurwyr, dewiniaid, brudwyr, a phlanedyddion; y cyfryw a wadant Dduw, ac a gymerant y diafol yn Dduw iddynt. 2 *Bren.* 1. 3. *Lef.* 19. 31. a 20. 6, 7, 27. *Dad.* 21. 8.

6. Anghredu rhagluniaeth Duw. *Zeph.* 1. 22.

7. Ymddiried mewn dyn neu ddim arall yn lle Duw. *Ier.* 17. 5. *Eph.* 5. 5. *Phil.* 3. 19. 2 *Cron.* 16. 12.

8. Caru gogoniant dynion yn fwy na'r gogoniant sydd o Dduw yn unig. *Ioan* 5. 44.

9. Diystyru gwasanaeth Duw, neu ei wasanaethu yn rhagrithiol. *Tit.* 1. 16. *Iob* 21. 15.

10. Diystyru neu esgeulusaw Crist fel yr unig gyfryngwr addas digonol rhyngom a Duw. 1 *Tim.* 2. 5.

11. Cablu neu ddiystyru gwaith yr Ysbryd Glân ar ein calonau, yn ein cyfnewid i ddelw Duw. *Mat.* 12. 32.

12. Pob esgeulusiad o foddion i'n hyfforddi mewn gwybodaeth o'r Arglwydd, ac i'n dwyn i gymdeithas â Duw.

13. Priodoli ein llwyddiant a'n rhagoroldeb i ni ein hunain yn lle i Dduw. 1 *Cor.* 4. 6.

C. Pa bethau yn ychwaneg sydd i ni i'w golygu yn nrych y gorchymyn hwn?

A. 1. Dyfnder trueni a phechadurusrwydd dyn yn ei ddidduwiaeth a'i hollol ymadawiad â Duw. *Eph.* 2. 10.

2. Ei fawr ynfydrwydd a'i ffolineb yn cymeryd yn lle Duw yr hyn nad yw Dduw. *Ps.* 115. 6. a 135. 16, 17, 18. *Ier.* 2. 12, 13.

3. Anfeidrol werth y cyfryngwr Iesu Grist, yr hwn yw ein tangnefedd ni, a'n cymmodwr â Duw. *Eph* 2. 14. 2 *Cor* 5. 19, 20.

4. Y neillduol anghen am waith yr Ysbryd Glân ar ein calonau, i adnewyddu ein hysbryd a'n dychwelyd at Dduw. *Act* 26. 18. *Esa* 55. 7.

---

## YR AIL ORCHYMYN.

### CWESTIWN.

BETH yw yr ail orchymyn?

ATTEB. 'Na wna it' ddelw gerfiedig, na 'llun dim ag y sydd yn y nefoedd uchod, 'neu yn y ddaear isod, nac yn y dwfr tan 'y ddaear. Nac ymostwng iddynt, ac na 'addola hwynt: Oblegid myfi yr Arglwydd 'dy Dduw wyf Dduw eiddigus, yn ymweled â 'phechodau y tadau ar y plant, hyd y drydedd 'a'r bedwaredd genedlaeth o'r rhai a'm casânt, 'ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r 'rhai a'm carant, ac a gadwant fy ngor-'chymynion.'

C. Yn nghylch pa beth mae yr ail orchymyn?

A. Fel mae y gorchymyn cyntaf yn gosod allan y gwrthddrych dwyfol o'n haddoliad, felly mae yr ail yn ein dysgu yn mha ddull y mae i ni addoli Duw.

C. Pa bethau sydd i ni i'w dysgu am yr Arglwydd oddiwrth y gorchymyn hwn?

A. 1. Ei anfeidrol berffeithrwydd a'i hawddgarwch, fel mae yn deilwng o addoliad pawb dros byth. 2 *Bren* 17. 36. *Ps* 95. 6. a 99. 5.

2. Ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd, yn gofyn iddo ei hun yr hyn sydd ddyledus iddo i'w gael. *Esa* 42. 8. a 48. 11.

3. Ei ddaioni mawr, yn gorchymyn i ni y gwaith mwyaf daionus a hyfryd sydd i'w wneuthur, sef addoli y gwir Dduw. *Deut.* 32. 47.

4. Ei diriondeb mawr, yn ein cyfarwyddaw pa fodd i'w addoli yn deilwng ac yn addas. *Deut* 4. 7, 8.

5. Ei fawr ofal am danom, a'i drugaredd, yn ein rhybuddiaw rhag pob addoliad gau anaddas iddo. *Act* 17. 23. *Ioan* 4. 22.

C. Beth a welwn o honom ein hunain yn erych y gorchymyn hwn?

A. 1. Ein mawr bechadurusrwydd wedi colli ysbryd i addoli yr unig wrthddrych teilwng o addoliad. *Ier.* 2. 13.

2. Ein hanwybodaeth a'n hynfydrwydd mawr, yn gwneuthur delwau i ni ein hunain i'w haddoli yn lle y gwir Dduw. *Esa* 43. 12, 20.

3. Ein trueni mawr trwy bechod, yn newid ein gogoniant am yr hyn ni wna lesâad. *Ier* 2. 12, 13.

C. Pa bechodau a waherddir yn yr ail orchymyn?

A. 1. Esgeulusaw addoli y gwir Dduw yn ol ei drefn ei hun. *Dad.* 14. 7.

2. Gwneuthur llun neu ddelw o Dduw, neu lun rhyw beth arall, i'w addoli. *Deut* 4. 23, 24.

3. Pob meddylion a dychymygion camsyniol am y gwir Dduw. *Act* 17. 29. 1 *Cron* 28. 9.

4. Amrywiaw oddiwrth y rheol o addoliad a roddodd Duw ei hun i ni. *Deut* 5. 32. a 12. 32.

5. Ymgyfathrachu âg eilun-addolwyr. *Neh* 13. 25.

6. Rhoddi i ryw wrthddrych arall y parch dyledus i Dduw yn unig—megys iddynt eu hunain, eu bol, neu bethau y byd: Eilunaddoliaeth yw cybydd-dod. *Col* 3. 5. 2 *Tim* 3. 2. *Phil* 3. 19. *Rhuf* 1. 25. *Ezec* 14. 3.

C. Pa ddyledswyddau a osodir arnom yn yr ail orchymyn?

A. 1. Bod i ni addoli Duw yn unig. *Mat* 4. 10.

2. Bod i ni addoli Duw yn wirioneddol o gariad tu ag ato. *Ps* 73. 27.

3. Bod i ni addoli Duw â'r *holl ddyn*, sef â'n corph a'n hysbryd, ein calon a'n tafod. 1 *Cor* 6. 20. *Ps* 95. 6. *Neh.* 8. 6.

4. Bod i ni addoli Duw yn gyson ac yn barhaus. *Deut* 5. 29.

5. Bod i ni addoli Duw yn ei holl ordinadau, yn ol rheol gair Duw. *Mat* 28. 20. *Ios* 1. 7. *Heb* 3. 5.

6. Bod i ni addoli yn Ysbryd Duw, ac nid offrymu tân dyeithr, megys Nadab ac Abihu. *Ioan* 4. 23. 24. *Lef* 10. 1, 2, 3, 4, 5, &c.

7. Bod i ni ddyoddef yn hytrach na pheidiaw addoli Duw, neu addoli heb ond Duw, fel y gwnaeth Daniel a'r tri llanc yn Babilon. *Dan* 3. a'r 6.

8. Bod i ni yn mhob ffordd, yn ol ein gallu a'n sefyllfa, annog a chynnal gwir addoliad Duw yn y byd. *Exod* 25. 2. a 36. 5.

C. Pa annogaethau a roddir yn yr ail orchymyn i ufudd-dod iddo?

A. 1. Bod yr Arglwydd yn Dduw i ni; am hyny y dylem ei addoli ef yn unig.

2. Eiddigedd Duw am yr addoliad dyledus iddo; 'Myfi wyf Dduw eiddigus.'

3. Cosp gau neu ddelw addolwyr, a'u heppil ar eu hol, heb edifeirwch yn rhagflaenu: 'Y mae Duw yn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth.'

4. Bod eilun-addolwyr yn dangos casineb at Dduw, ac yn ei gyffroi i ddigofaint. *Exod* 34. 14.

5. Bod Duw yn trugarâu wrth filoedd o'r rhai a ddangosant eu cariad tu ag ato trwy ei wir addoli a chadw ei orchymynion.

C. Pa bethau yn mhellach sydd i'w hystyried mewn perthynas i'r ail orchymyn?

A. 1. Bod Duw yn hoffi trugaredd yn fwy na chospi: y mae yn trugarâu wrth filoedd, pan y mae yn cospi ond hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth. *Mic.* 7. 18.

2. Bod ymlyniad rhyfedd yn nhrugaredd Duw lle y delo; nid yn hawdd y gad efe y genedl neu y teulu yr ymwelodd unwaith â hwynt. *Ps* 103. 17. *Hos* 11. 8.

3. Bod Duw yn gyfoethog o drugaredd: Y mae ganddo ddigon i filoedd. *Eph.* 2. 4. *Deut* 7. 9.

4. Mae yn llwybr ufudd-dod y mae trugaredd yn gweini amgeledd i'w gwrthddrychau: 'Y rhai a gadwant fy ngorchymynion.'

5. Lle byddo gwir gariad at Dduw, bydd yno ufudd-dod hefyd: 'Y rhai a'm carant ac a gadwant fy ngorchymynion.'

6. Anfeidrol werth cyfiawnder a chyfryngdod Crist, trwy yr hwn yn unig y mae i ni ddyfodiad at y Tad, a'n haddoliad yn cael ei gymeradwyo. *Eph* 1. 6. a 2. 18.

7. Effeithioldeb a gwerthfawrogrwydd gwaith yr Ysbryd Glân, yn adferu ysbryd addolwyr i ni wedi ei golli. *Eph* 2. 18.

---

## Y TRYDYDD GORCHYMYN.

### GWESTIWN.

**B**ETH yw y trydydd gorchymyn?

**Atteb.** 'Na chymer enw yr Arglwydd 'dy Dduw yn ofer: canys nid gwirion gan 'yr Arglwydd yr hwn a gymero ei enw ef 'yn ofer.'

C. Beth yw cynnwysiad y trydydd gorchymyn?

hau yn dangos parch dyladwy i ordinadau Duw, a'i wirioneddau, a'i weithredoedd. *Ps.* 100. 4. 66. 2. *Lef.* 10. 3. *Mal.* 1. 11. *Preg.* 6, 1. *Cron.* 16. 8, 9.

6. Bod ein llwon, fel tystion yn enw Duw, yn gywir, yn sanctaidd, ac yn barchus. *Ier.* 4, 2.

7. Ymostyngiad distaw parchus i ragluniaethau Duw. 2 *Sam.* 16, 20. *Iob.* 1, 20, 21, 22.

C. Pa ffordd y cymerir enw Duw yn ofer, a pha bechodau a waherddir yn y gorchymyn hwn?

A. 1. Diffyg o barch yn ein meddwl cyffredin i Dduw. *Mat.* 12, 34, 35.

2. Enwi Duw yn ysgafn yn ein hymadrodd cyffredin. *Lef.* 22, 32.

3. Geiriau anystyriol a chellweirus am air Duw, ei ragluniaethau, a'i ordinadau. *Iudas* 15.

4. Llwon anudon, ofer, ac afreidol. *Zech.* 5, 3. *Iago* 5, 12.

5. Diystyru addoliad Duw, ac arferiad ysgafn twyllodrus o ddyledswyddau crefydd. *Mat.* 3, 4. *Iob.* 31, 14, 15. *Mat.* 15, 8, 9.

6. Pob rhegfeydd a melldithion. *Ps.* 109. 17.

7. Pob arferiad o enw Duw mewn swyngyfaredd neu gonsuriaeth. *Deut.* 18, 10, 12.

8. Ceisiaw anrhydedd i'n henwau ein hunain, yn lle ymgais am ogoneddu Duw yn mhob peth; 'Ei ardderchogrwydd sydd uwchlaw daear a nefoedd.' *Ps.* 148, 13. a 115, 1. *Esa.* 48, 11.

9. Gwawdiaw a goganu pobl Duw, a thrwy

hyny cablu Duw ei hun. *Thes.* 4, 8. *Ps.* 74, 18.

10. Cablu gwaith Ysbryd Duw ar eneidiau pechaduriaid trwy yr efengyl. *Mat.* 12, 34, 35, 36.

C. Beth yw y bygythiad am gymeryd enw Duw yn ofer?

A. 'Nid dieuog gan yr Arglwydd y neb a 'gymero ei enw ef yn ofer.'

C. Beth sydd i ni ystyried yn y bygythiad hwn?

A. 1. Fod Duw yn sylwi yn fanwl ar ein holl eiriau am dano. *Dan.* 7, 25. *Mal.* 3, 16.

2. Y dwg Duw bob gair i farn. *Iudas* 15.

3. Y bydd i Dduw gospi yn drwm am yr holl eiriau caledion, y rhai a lafarodd pechaduriaid annuwiol yn ei erbyn ef. *Iudas* 15.

C. Pa bethau yn mhellach sydd i'w hystyried yn nrych y gorchymyn hwn?

A. Y mae i'w weled ynddo, 1. Ardderchogrwydd a mawrhydi Duw: 'Ei enw ef yn unig sydd dderchafadwy.' *Ps.* 148, 13.

2. Gogoniant, sancteiddrwydd, ac uniondeb ei holl briodoliaethau, ei ordinadau, a'i ragluniaethau, yn haeddu y parch mwyaf oddi wrthym:—'Nid sanctaidd neb fel yr Arglwydd, ei holl ffyrdd ydynt farn.' 1 *Sam.* 2, 2. *Deut.* 32, 4.

3. Gwaith addas a dyladwy ni â'n tafodau: sef 'rhoddi mawredd i'n Duw ni.' *Deut.* 32. 2.

4. Ein pechadurusrwydd dirfawr yn dianrhydeddu yr enw mwyaf ardderchawg, trwy eiriau ofer, neu ogan gwag. *Esa.* 37, 10, 24.

5. Ein meddyliau distadl am yr Arglwydd, yn peri i'n geiriau fod mor anaddas am dano:—'O helaethrwydd y galon y llafara y genau.' *Mat*. 12, 34.

6. Yr anghenrheidrwydd o wyliadwriaeth ar ein geiriau; canys cablu yr Ysbryd Glân â'r tafod yw y pechod anfaddeuol. *Mat*. 12, 31.

7. Yr anghenrheidrwydd o Iesu Grist yn gyfryngwr i'n cymeradwyaw; efe yw diwedd pob gorchymyn er ein cyfiawnâad:—'Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau.' 1 *Petr* 2, 22.

8. Yr anghenrheidrwydd o waith yr Ysbryd Glân ar ein calonau, i ysgrifenu y gorchymyn hwn yno, ac i weithiaw parch ynom i'w enw mawr. *Ios*. 7. 9. *Ps*. 108. 7.

C. Ai diffyg cariad at Dduw yw yr achos ein bod yn anmharchus o'i enw?

A. 1. Ië, yn ddiammeu; lle byddo cariad at Dduw, bydd yno gariad at ei enw, ac ymdrech am ei barchu. *Exod*. 32. 12, 13.

2. Y mae esamplau y duwiolion, ag oeddynt yn caru Duw yn mhob oes, yn dangos eu parch mawr i enw yr Arglwydd. *Exod*. 32. 12, 13. *Ios*. 7. 9. *Act*. 21. 13.

3. Gelynion Duw a gymerant ei enw ef yn ofer. *Ps*. 139. 20.

# Y PEDWERYDD GORCHYMYN.

## CWESTIWN.

BETH yw y Pedwerydd Gorchymyn?

ATTEB. 'Cofia gadw yn sanctaidd y dydd 'Sabboth. Chwe diwrnod y gweithi, ac y 'gwnai dy holl waith; ond y seithfed dydd 'yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw: Ar y 'dydd hwnw na wna ddim gwaith, tydi, na'th 'fab, na'th ferch, na'th was, na'th forwyn, 'na'th anifel, na'r dyn dyeithr a fyddo o fewn 'dy byrth. Canys mewn chwe diwrnod y 'gwnaeth yr Arglwydd nef a daear, y mor a'r 'hyn oll sydd ynddynt, ac a orphwysodd y 'seithfed dydd. O herwydd paham y ben- 'dithiodd yr Arglwydd y dydd Sabboth ac a'i 'sancteiddiodd ef.'

C. Yn nghylch pa beth y mae y pedwerydd gorchymyn?

A. Yn nghylch sancteiddio yr amser hyny a benododd Duw yn fwyaf neillduol i'w addoli a'i gadw yn sanctaidd i'r Arglwydd.

C. Paham yr ordeiniodd Duw y Sabboth?

A. 1. Yn arwydd o'r boddlonrwydd a gafodd Duw yn ngwaith y grëedigaeth:— 'Gwelodd Duw yr hyn oll a wnaethai, ac wele da iawn ydoedd—a Duw a fendigodd y seithfed dydd, oblegid ynddo y gorphwys- asai oddiwrth ei holl waith.' *Gen.* 1. 31. 2. 3.

2. Adnewyddodd Duw y Sabboth drachefn yn goffadwriaeth o waredigaeth pobl Israel o wlad yr Aipht.

3. Cyfnewidwyd y Sabboth; dan yr efengyl, o'r seithfed i'r dydd cyntaf o'r wythnos, yn goffadwriaeth am waith y prynedigaeth ac o adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw. *Act.* 20. 7. 1 *Cor.* 16. 1, 2.

4. Mae y Sabboth yn arwydd o'r orphwysfa sydd yn Nghrist i bechadur llwythog a blinderog. *Mat.* 11. 28, 29.

5. Mae y Sabboth yn arwydd sicr o'r orphwysfa sydd etto yn ol i bobl Dduw yn y nefoedd, wedi ymadael â'u pechodau a'u croesau dros byth. *Heb* 4. 9.

6. Mae y Sabboth yn orphwysfa i ddyn ac anifel, ac yn gyfleustra i addoli Duw yn fwy cyhoeddus ac arbenig nag ar brydiau ereill.

C. Pa resymau a roddir yn y gorchymyn am ufudd-dod iddo?

A. 1. Darfod i Dduw roddi i ni chwe diwrnod i weithiaw; ac y bydd bendith Duw ar waith y chwe' diwrnod yn ddigonol tu ag at ein cynnaliaeth.

2. Fod Duw, mewn modd awdurdodol, wedi neillduo y Sabboth iddo ei hun:—'Y seithfed dydd yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw.'

3. Fod gwaith Duw yn gorphwys ei hun yn siampl i ni:—'A gorphwysodd yr Arglwydd y seithfed dydd.'

4. Oblegid fod lle i ni ddysgwyl bendith neillduol oddiwrth Dduw wrth sancteiddio y Sabboth a'i dreulio gyda Duw:—'Duw a fendithiodd y seithfed dydd,' &c.

C. A ddylid gwneuthur dim gwaith ar y Sabboth?

A. Dylid gwneuthur tri math o waith ar y Sabboth:—1. Cyflawniadau crefyddol, a phob peth a berthyn iddynt.

2. Gwaith anghenrheidiol nas gellir ei wneuthur bryd arall, heb fod yn euog o droseddu gorchymynion ereill: nid oes un gorchymyn yn groes i'r llall.

3. Gweithredoedd o drugaredd i ddyn ac anifel. *Mat* 12. 7.

C. Pa bethau sydd i'w hystyried mewn perthynas i'r gorchymyn hwn?

A. 1. Fod awdurdod Duw ynddo fel y lleill, ac nas gellir ei droseddu heb fod yn euog o'r cwbl. *Iago* 2. 10.

2. Fod halogiad y Sabboth yn caledu y gydwybod, yn arwain i lawer o bechodau ereill, ac yn tynu arnom felldith Duw. *Exod* 31. 14, 15. *Ier* 17. 27. *Ezec* 20. 13, 22, 26, 31.

3. Fod y gorchymyn yn dra eang, yn cyrhaedd at yr holl ddyn, y meddwl, geiriau a'r gweithredoedd. *Esa* 58. 13.

4. Mae yn gofyn nid yn unig ein bod yn gorphwys, ond yn treuliaw y Sabboth yn sanctaidd, y corph a'r enaid wrth waith sanctaidd.

5. Fod y trosedd o'r gorchymyn esmwyth hwn yn brawf neillduol o'n diffyg o gariad at Dduw, a'n hanufudd-dod iddo. *Exod* 1. 14, 15.

C. Pa faint o'r Sabboth; sydd i ei sancteiddiaw?

A. Y dydd Sabboth nid rhan o hono, a enwir yn y gorchymyn.

C. Pa ddyledswyddau a erchir yn y gorchymyn hwn?

A. 1. Bod i ni orphwys oddiwrth ein gwaith ein hunain ag sydd gyfreithlawn, ar ddyddiau ereill. *Deut* 16. 8.

2. Bod i'n holl eiddo, sef ein dynion a'n hanifeiliaid orphwys. *Exod* 23. 12.

3. Gofalu am fod y Sabboth yn cael ei sancteiddiaw gan bawb o'n teuluoedd. *Ps.* 78. 5.

4. Gorphwys oddiwrth bob difyrwch cnawdol, ac ymaflyd y'ngwaith Duw a'n holl galon fel ein difyrwch penaf. *Esa.* 58. v13. *Ps.* 118. 24.

5. Bod i ni ddyfod yn gyson ac yn brydlawn i addoliad Duw yn gyhoeddus. *Esa.* 66. 23. *Ios.* 6. 15.

C. Pa bechodau a waherddir yn y gorchymyn hwn?

A. Pob peth croes i sancteiddiaw y Sabboth, megys—1. Esgeuluso addoliad Duw yn ddirgel ac yn gyhoeddus, a'r dyledswyddau ereill gorchymynedig ar y Sabboth. *Neh.* 8. 12. *Marc* 3. 3, 5. *Luc* 13. 16. a 14. 1, 4. *Mat.* 12. 7, 12.

2. Cyflawni addoliad Duw mewn dull anystyriol, anysbrydol a chnawdol, fel pe bai y Sabboth yn faich, ac addoliad Duw i gellwair ag ef. *Mat.* 15. 7, 8. *Amos* 5. 8. *Mal.* 1. 13.

3. Gweithiaw, teithiaw, a negeseua. *Lef.* 23, 30.

4. Chwareuon, geiriau ofer, segurdod, a chysgu syrthlyd, yn lle sancteiddiaw y Sabboth. *Diar* 6. 9.

5. Gwneuthur yr hyn sydd ynddo ei hun yn

bechadurus, megys diota, cyfeddach, meddwdod. *Ezec.* 22. 26.

6. Meddyliau ac ymddyddanion afreidiol ac annherthynasol i sancteiddiad y Sabboth. *Esa.* 58. 13, 14.

7. Esgeuluso llywodraeth deuluaidd ar y Sabboth, ac edrych ar fod pob un o'n teulu yn cadw y Sabboth gyda ni.

C. Pa bethau a welir yn mhellach yn nrych y gorchymyn hwn?

A. 1. Mawr diriondeb Duw yn gofalu am ddyn ac anifel, yn trefnu gorphwysfa gymhedrol iddynt, sef, un dydd o saith.

2. Haelioni Duw yn ei fendith ar waith y chwe' diwrnod, fel nad oes raid wrth waith y seithfed dydd at ein cynnaliaeth.

3. Daioni a thrugarogrwydd Duw yn rhoddi i ni y Sabboth i ei dreuliaw yn sanctaidd gydag ef, ac i'n parotôi i fwynâu Sabboth tragywyddol yn y nef.

4. Pechadurusrwydd dyn yn ei anufudd-dod i orchymyn mor esmwyth. *Heb.* 4. 9.

5. Di-dduwiaeth a halogedigaeth mawr meddwl dyn, gan nas gall dreulio un dydd gyda Duw yn ei addoliad, heb fod hyny yn faich iddo. *Mal.* 1. 13.

6. Yr anghenrheidrwydd anhebgorol o'r cyfryngwr i ateb trosom am ein troseddiadau aml.

7. Yr anghenrheidrwydd neillduol o waith yr Ysbryd Glân ar ein calonau, i roddi ysbryd y Sabboth i ni ymorphwys ac ymhyfrydu yn yr Arglwydd a'i waith, fel y caffom ein haddfedu i dreuliaw Sabboth tragywyddol gyda Duw. *Esa.* 58. 13.

## Y PUMMED GORCHYMYN.

### CWESTIWN.

BETH yw y pummed gorchymyn;

ATTEB. 'Anrhydedda dy dad a'th fam, 'fel yr estyner dy ddyddiau ar y ddaear yr hon 'a rydd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti.'

C. Y'nghylch pa beth mae y pummed gorchymyn?

A. 1. Y'nghylch trefn llywodraeth Duw ar y byd, yn gosod rhai yn dadau, ac ereill yn blant; rhai yn uwch, a rhai yn îs nac eu gilydd; rhai i lywodraethu, ac ereill i ufuddâu.

2. Y dyledswyddau perthynol i bob un yn ol ei sefyllfa, sef, llywodraethu ac ufuddâu mewn cariad at eu gilydd.

C. Pa bethau sydd i'w hystyried mewn perthynas i'r gorchymyn hwn?

A. 1. Ei fod yn dra ëang, yn cyrhaedd at deyrnasoedd a gwladwriaethau, yn gystal a theuluoedd: at wŷr a'u gwragedd, meistriaid a'u gweinidogion yn gystal a rhieni a phlant naturiol: Y mae rhai yn dadau ac ereill yn blant yn Eglwys a theulu Duw hefyd.

2. Fod trefn Duw yn llywodraeth y byd, a osodir i lawr ynddo, 'yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda,' er gogoniant Duw a'n llesâad ninnau.

3. Fod pob ymadawiad oddi wrtho yn ein hymddygiad at ein gilydd yn bechadurus iawn,

yn erbyn trefn Duw, ac yn dra gofidus yn y canlyniadau i ninnau.

4. Fod y cyflawniad diesgeulus o'r dyledswyddau a erchi ynddo, yn nôd neillduol o wirionedd ein gras. *Eph* 4. 24, 25. 1 *Petr* 3. 1,—9.

5. Fod ufudd-dod iddo yn foddion i anrhydeddu enw Duw a'i athrawiaeth ef. 1 *Tim* 6. 1. *Tit* 2. 10. *Mat* 5. 16, 17, 18, 27. 1 *Petr* 3. 6, 16.

6. Fod ufudd-dod iddo yn ein tebygu ni i Grist, ac yn foddion neillduol i ennill ereill i garu Crist. *Luc* 2. 51. 1 *Ioan* 2. 6, 29. 1 *Petr* 3. 1, 2. 1 *Cor*. 7. 16. 1 *Tim*. 4 12. *Phil* 2. 15.

7. Fod Duw wedi anrhydeddu y gorchymyn hwn mewn modd arbenig, trwy roddi addewid neillduol o hir hoedl a llwyddiant ar y ddaear, i'r sawl a'i cadwant.

C. A ydyw y rhai a gyflawnant y dyledswyddau a erchir yn y gorchymyn hwn yn estyn eu dyddiau yn hwy nag ereill?

A. 1. Ni thorir hwy ymaith cyn eu hamser gan farn Duw. *Diar* 10. 28. *Iob* 15. 32. *Preg* 7. 17. *Ps* 55. 23.

2. Os na fydd eu dyddiau yn hir, byddant yn felus, a than fendith Duw, ac yn llesol i ereill, ac yn llawer gwell nà hir oes yr annuwiol. *Esa* 65. 20. *Deut* 5. 16.

3. Cânt fyw yn ddigon hir ar y ddaear i fwynâu bywyd tragywyddol yn y nef ar ol hyny. *Ps* 91. 16. a 37. 18.

C. Beth y mae swydd a lle *Tad* yn yr ystyriaethau a soniasoch yn ei arwyddaw?

A. 1. *Awdurdod;* a hono wedi ei rhoddi iddo gan Dduw, fel nas gellir ei gwrthwynebu heb wrthsefyll ordinâad Duw. *Rhuf* 13 2.

2. *Llywodraeth;* sef bod yr hwn sydd â'r awdurdod ganddo yn llywodraethu yn dda. 1 *Tim* 3. 4. a 5. 17.

3. *Cariad; Tàd* yw, ac nid gormesdeyrn; rhaid iddo lywodraethu yn dirion, amgeleddgar, tros Dduw, er gogoniant Duw, ac er llesâad i ereill.

C. Beth yw dyledswydd rhieni at eu plant?

A. 1. Trefnu amgeledd a chynnaliaeth iddynt.

2. Rhoddi esampl dda iddynt: 'Y cyfiawn a rodia yn ei uniondeb: gwyn eu byd ei blant ar ei ol ef.' *Diar* 20. 7.

3. Eu maethu hwynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. *Eph* 6. 4.

4. Eu hattal rhag tori gorchymyn Duw: 'Tydi na'th fab na'th ferch na'th wâs na'th forwyn,' &c. *Ped. gorch.*

5. Gweddiaw drostynt a chyda hwynt. *Gen* 17. 12, 18. *Mat* 15. 22.

6. Llafaru wrthynt am weithredoedd Duw a threfn iechydwriaeth trwy Iesu Grist. *Deut* 4 9. *Ioel* 1. 3.

7. Eu ceryddu er llês iddynt. *Diar* 13. 24. a 19. 18. a 22. 15. a 23. 13, 14. a 29. 15, 17.

8. Eu dwyn hwynt i fynu i ryw waith a galwad onest ac addas iddynt. *Gen* 4. 2. 1 *Cor* 7. 20.

9. Ymddwyn yn garüaidd tu ag atynt, ac nid yn chwerw i'w gyru i ddigiaw neu i ddigaloni. *Eph* 6. 4 *Col* 3. 21.

C. Pa rai yn benaf yw pechodau Rhieni?

A. Pob peth, ag sydd yn groes i'r dyledswyddau hyn.

C. Beth yw dyled plant tu ag at eu Rhieni?

A. 1. Eu caru a'u hanrhydeddu yn barchus. *Deut* 5. 16.

2. Ufuddâu iddynt yn mhob peth cyfreithlawn. *Col* 3. 20. *Ier* 35. 18, 19.

3. Gweddiaw drostynt. 1 *Tim* 2. 1.

4. Gwrandaw ar, a chadw, eu holl addysgiadau da; ac ymddwyn yn dduwiol er cysur iddynt. *Lef* 19. 3. *Diar* 1. 8.

5. Eu hanrhydeddu a'u cymhorth yn eu hanghen a'u henaint. 1 *Tim* 5. 4.

6. Ymostwng yn barchus i'w ceryddon. *Lef* 19. 3. *Diar* 15. 5.

7. Gofyn cynghor a chydsyniad eu rhieni yn mhob peth, yn enwedigol yn nghylch priodi. *Gen* 24.

C. Pa rai yn benaf yw pechodau plant yn erbyn eu rhieni?

A. 1. Diystyru cerydd eu rhieni. 1 *Sam* 2.

2. Cymeryd eu meddiant heb eu cenad. *Diar* 18. 24.

3. Eu dirmygu a'u gwawdio. *Deut* 27. 16. *Diar* 30. 17. *Ezec* 22. 7.

4. Taraw neu felldithiaw eu rhieni. *Exod* 21. 15. *Lef.* 20. 9.

5. Cyhoeddi gwaradwydd eu rhieni yn lle eu gorchguddio. *Gen* 9.

6. Anufuddâu iddynt, a phriodi heb eu cynghor a'u cydsyniad. *Deut* 21. 18, 21.

C. Pa siamplau sydd genym yn neillduol o blant yn anrhydeddu eu rhieni?

A. 1. Y mae Ioseph yn siampl hynod yn ei barch i'w dad pan oedd yn llywydd ar wlad yr Aipht, ac yn ei amgeledd iddo, a'i ofal am dano yn ei henaint a'i lesgrwydd. *Gen* 46. 29. a 47. 1,—7.

2. Solomon yn ei holl ogoniant, a barchodd ac a anrhydeddodd ei fam. 1 *Bren* 2. 29, 30, 32, &c.

3. Ond mae esampl Iesu Grist yn ei ufudd-dod i'w rieni, yn eu tlodi a'u gwaeledd, yn derchafu y gorchymyn hwn i'r gradd eithaf, ac yn ein rhwymaw ninnau i ddilyn ei ol. *Luc* 2. 51. *Ioan* 19. 26, 27.

C. Pa bethau yn mhellach sydd i'w hys-tyried mewn perthynas i'r gorchymyn hwn?

A. Mae y gorchymyn hwn, 1. Yn rhwymaw swyddogion gwladol, yn eu hamrywiol swydd-au, i ymddwyn yn dadol tu ag at eu deiliaid, gan lywodraethu arnynt mewn cariad, cyf-iawnder, a thiriondeb. 2 *Sam* 23. 4, 5.

2. Y mae yn rhwymaw eu holl ddeiliaid i weddiaw drostynt, ufuddâu yn barchus iddynt yn mhob peth cyfreithlawn, ac ymddwyn yn ffyddlawn ac yn heddychol, gan lafaru yn barchus am danynt, a thalu teyrnged idd-ynt. 1 *Petr* 2. 13, 14. *Rhuf* 13. 1, 2, 3, 5, 7. *Tit* 3. 1. *Exod* 22. 28. *Preg* 8. 2. 1 *Tim* 2. 1, 2.

3. Y mae yn rhwymaw gwyr i lynu wrth eu gwragedd, gan roddi parch iddynt fel y llestri gwanaf, i gyd-gyfanneddu â hwynt, a chyflawni yn ffyddlawn eu hammodau pri-odasol. *Gen* 2. 24. *Diar* 5. 18. 19. *Mal* 2. 14. 15. 1 *Cor* 6. 9. 1 *Petr* 3. 7. *Col* 3. 19.

4. Mae yn rhwymaw y gwragedd i ufuddâu ac i barchu eu gwyr; i fod yn bwyllog; yn ffyddlawn i'w hammodau priodasol; i ofyn a derbyn addysg ganddynt, a gwarchod gartref. *Eph* 5. 22, 24, 33. *Tit* 2. 5. 1 *Petr* 3. 2, 3, 4, 6. *Diar* 19. 14. 1 *Tim* 5. 14.

5. Y mae yn rhwymaw meistriaid, i lywodraethu yn dadol ac mewn cariad, nid yn galed, nac yn anghyfiawn ar eu gweinidogion; gan roddi bwgwth heibio, a chan fod yn amgeleddgar o honynt mewn llesgrwydd ac afiechyd, a'u haddysgu yn ffyrdd Duw. *Exod* 25. 43. *Deut* 24. 14. *Eph* 6. 9. *Mat* 8. 6. *Gen* 18. 12, 19. *Ios* 24. 15.

6. Y mae yn rhwymaw gweinidogion i fod yn ufudd ac yn barchus tu ag at eu meistriaid; nid yn gwrth-ddywedyd, nac yn darn-guddiaw; ymddwyn yn onest, nid â llygad-wasanaeth; a bod yn dda eu hamynedd. 1 *Tim* 6. 2. *Eph* 6. 5, 6, 7. *Col* 3. 22. 1 *Petr* 2. 18, 19, 20. *Tit* 2. 10.

7. Y mae yn ein rhwymaw i ymddwyn yn ostyngedig, gan roddi parch dyledus i bawb o'n gwell; cyfodi ger bron penwyni, bod yn serchawg ac yn hawddgar tu ag at bawb a fyddo is nâ ni, a dangos pob addfwynder tu ag at bob dyn. *Tit* 2. 1. *Lef* 19. 32. 1 *Petr* 5. 5. *Luc* 14. 8.

C. Beth sydd i'w weled yn mhellach yn nrych y gorchymyn hwn?

A. 1. Cyfiawnder ac uniondeb llywodraeth Duw arnom, yn gorchymyn yn unig yr hyn sydd gyfiawn i ni wneuthur i'n gilydd. *Eph* 6. 1.

2. Doethineb a daioni ei drefn yn gosod y naill i fod yn amgeledd ac yn gynnorthwy i'r llall, ac i roddi parch dyledus i'n gilydd. *Rhuf* 13. 7.

3. Ein mawr bechadurusrwydd yn ein hollol groesineb i drefn a deddf Duw yn Ysbryd ein meddwl. *Rhuf* 9. 7.

4. Ein hanghen o gyfiawnder Crist, yr hwn a fawräodd y gorchymyn hwn yn ei ufudd-dod perffaith i'w rieni. *Luc* 2. 51.

5. Yr anghenrheidrwydd anhebgorol o'r Ysbryd Glân i gyfnewid ein calonau ac 'sgrifenu y gorchymyn hwn arnynt, a'n dysgu i dalu dyledus barch i'n gilydd. *Rhuf* 12. 2.

---

## Y CHWECHED GORCHYMYN.

### CWESTIWN.

BETH yw y Chweched Gorchymyn?

ATTEB. 'Na ladd.'

C. Beth yw swm y gorchymyn hwn?

A. Cariad gwirioneddol at bersonau ein gilydd. *Rhuf* 13 9.

C. A ydyw pob peth ynom a fo yn groes i gariad yn droseddiad o'r gorchymyn hwn?

A. Ydyw.

C. Pa fodd y mae i ni garu ein gilydd?

A. 1. 'Fel ni ein hunain.' *Rhuf* 13. 9.

2. Fel y carodd Crist ni. *Ioan* 15. 12.

C. A ddylai dyn garu ei hun?

A. Dylai, yn nesaf at Dduw; a'i gymmydog *fel ef* ei hun.

C. Pa fodd y dylai ei gariad ymddangos tu ag ato ei hun?

A. 1. Trwy ymwrthod â phob drygioni, yr hwn a dywys i angeu. *Diar* 11. 19.

2. Trwy dderbyn Crist yn yr Efengyl, yr hwn yw bywyd pechadur, a'i waredwr oddi wrth y digofaint sydd a'r ddyfod. *Ioan* 6. 27. a 14. 6. a 11. 25.

3. Trwy ymgais am gymhorth i fyw yn dduwiol, gan roddi ein hunain i ofal a chadwraeth Duw. *Ps* 34. 17, 20. a 91. 11, 12. a 121. 7, 8.

4. Trwy fyw yn ddiddig mewn tymher hawddgar dan ysbrydoliaeth cariad Duw: 'Tristwch y byd sydd yn gweithiaw angeu.' 2 *Cor* 7. 10. *Diar* 17. 22. a 14. 30. a 15. 13. 12. 25.

5. Trwy arferiad *cymedrol* o luniaeth; y mae anghymedroldeb yn lladd corph ac enaid ar unwaith. *Diar* 23. 1, 3 *Deut* 8. 12. a 14. 6, 11, 12. a 32. 15. *Hos* 13. 6, 8. 1 *Cor* 10. 31.

6. Trwy arferyd physygwriaeth addas tu ag at adferyd ein hiechyd pan fyddom glaf. *Esa* 38. 21.

7. Trwy ofyn bendith Duw ar ein trugareddau, y rhai a sancteiddir trwy air Duw a gweddi. 1 *Tim* 4. 3, 5.

8. Trwy ochelyd yn ein hymadroddion a'n hymddygiad, bob peth a fyddo yn cynhyrfu ereill i ddigllonedd yn ein herbyn. *Diar* 13. 2.

C. A ydyw yn beched i ddyn ddystrywiaw ei fywyd ei hun?

A. 1. Ydyw yn diammeu: eiddo Duw yw

ein bywyd, ac nid ein heiddo ein hunain. *Esa* 42. 5.

2. Y mae 'n groes i orchymyn Duw, yr hwn a ddywed, 'na ladd' dy hun, na neb arall.

C. A ydyw yn gyfreithlawn i ni roddi ein bywydau dros Dduw a'i wirionedd?

A. Ydyw, y mae yn ddyledus arnom garu Duw yn fwy nâ 'n heinioes ein hunain. *Luc* 14. 26.

C. Pa fodd y dylem ddangos ein cariad tu ag at bersonau ereill?

A. 1. Trwy lafurio yn benaf dim am iechydwriaeth eu heneidiau. *Iago* 5. 20. 1 *Tim* 5. 22.

2. Trwy ddyfal-weddio drostynt, a rhoddi esamplau da iddynt. *Mat* 5. 16. 1 *Cor* 7. 16. 1 *Petr* 3. 3, 5. 1 *Tim* 2. 1.

3. Agor ein genau dros y mud, yn achos holl blant dinystr, a fyddo yn dyoddef ar gam. *Diar* 31. 8.

4. Rhagflaenu niwed a pherygl ereill hyd ag y mae ynom. *Gen* 37. 19, 22. 1 *Sam* 14. 45.

5. Na adawom dramgwydd ar ffordd neb, rhag i'w gwaed fod arnom. *Deut* 22. 8. *Exod* 21. 33, 34.

6. Cyfranu o'n meddiannau at anghen ereill, rhag iddynt farw o eisiau. *Iago* 2. 15, 16. *Iob* 31. 17. 22.

7. Bod yn addfwyn, gan oddef ein gilydd mewn cariad; bod yn gymwynasgar, a maddeu i'n gilydd, megys y maddeuodd Duw er mwyn Crist i ninnau. *Eph* 4. 2, 31.

C. Pa bechodau a waherddir yn y gorchymyn hwn?

A. Pob peth mewn meddwl, gair, neu weithred tu ag at ein gilydd, a'r sydd yn groes i gariad ac yn tueddu i lofruddiaeth; megys,

1. Casineb, a phob chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabledd. *Mat* 5. 22. 1 *Ioan* 3. 15. *Eph* 4. 30.

2. Cenfigen, yr hyn a barodd i Cain ladd ei frawd, ac i frodyr Ioseph fwriadu ei ladd yntau: 1 *Ioan* 3. 12. *Gen* 37. 18.

3. Camfarnu y diniwed i farw: 'Na ladd na 'r gwirion na 'r cyfiawn.' *Exod* 23. 7.

4. Pob peth a fyddo yn tueddu i fagu angهariad rhwng dynion a'u gilydd, megys athrod, drwg absen. a hustyng. *Lef* 19. 16.

5. Dyfetha baban yn y groth, neu beri i feichiogi gwraig fyned oddi wrthi. *Exod* 21. 23.

6. Glythineb, meddwdod, balchder, a chybydd-dod; y rhai ydynt yn aml yn dyfetha bywydau dynion. 1 *Bren* 19. a 21. *Ester* 3.

7. Pob annhrugarogrwydd tu ag at y rhai a fyddo mewn angهen ac eisieu. *Iob* 31. 19, 20. *Mat*. 25. 35, 36.

C. Beth sydd i'w weled y'mhellach yn nrych y gorchymyn hwn?

A. 1. Cyfiawnder, daioni, a thiriondeb Duw, yn gorchymyn i ni y peth sydd fwyaf er lles a chysur i'n gilydd. *Ps*. 119. 137, 158.

2. Atgasrwydd pechod, yn gwneuthur dynion yn elynion i'w gilydd. *Tit*. 3. 2.

3. Mawr drueni a pechadurusrwydd dyn,

yn llawn o bob meddwl drwg a lladdiadau. *Mat.* 15. 19.

4. Ein mawr anghen o gyfryngdod Crist i'n cymmodi â Duw ; yr hwn a garodd ei elynion â pherffaith gariad. *Rhuf.* 5. 8, 9, 10.

5. Ein hanghen am neillduol waith yr Ysbryd Glân i gyfnewid ein calonau, a'n dysgu i garu ein gilydd. 1. *Thes.* 4. 9.

## Y SEITHFED GORCHYMYN.

### CWESTIWN.

BETH yw y Seithfed Gorchymyn?

ATTEB. 'Na wna odineb.'

C. Am ba beth mae y gorchymyn hwn?

A. Am y diweirdeb dihalogedig a ddylai fod y'mhawb mewn meddwl, gair, a gweithred.

C. Pa'm y gorchymynir, Na odineba, yn nesaf at, 'Na ladd.'

A. Am y dylai ein diweirdeb fod mor anwyl genym a'n bywyd.

C. Pa bethau ynom a waherddir yn y gorchymyn hwn?

A. 1. Chwantau aflan y meddwl. *Mat.* 5. 28.

2. Pob peth a fyddo yn tueddu i fagu neu ennyn chwantau halogedig; megys geiriau, ystumiau corphorol, neu wisgiadau anllad, segurdra, glythineb a meddwdod, sydd yn pesgi y cnawd ac yn ennyn gwyniau gwarthus. *Eph.* 5. 3, 4. *Esa.* 3. 16, 17. *Ezec.* 16. 49, 50.

3, Godineb, puteindra, a phob llosgach ang-

hyfreithlawn. *Lef.* 18. 6, 20, 29. a 20. 13, 15. *Deut.* 22. 25. a 23. 17.

C. Pa bethau sydd yn orchymynedig yn y gorchymyn hwn?

A. 1. Cyflwynaw ein hunain, gyrph ac eneidiau, fel y byddom wedi ein cysylltu â'r Arglwydd yn un ysbryd. 1 *Cor.* 6. 17. *Rhuf.* 6. 13, 19.

2. Golygu ein cyrph fel yn demlau i'r Ysbryd Glân, yr hwn y mae pawb yn ei dderbyn a'r sydd yn eiddo Crist, ac nad ydym yn eiddo ein hunain. 1 *Cor.* 6. 19.

3. Ceisiaw cymdeithas yr Ysbryd Glân, marweiddiaw gweithredoedd y corph trwy yr Ysbryd. *Rhuf.* 8. 13. *Eph.* 5. 11. *Gal.* 5. 16.

4. Byw mewn cymedroldeb a diwydrwydd. 1 *Cor.* 9. 27.

5. Llafuriaw am gynnydd mewn gwir sancteiddrwydd yn mhob peth:—'Hyn yw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi, ar ymgadw o honoch rhag godineb.' 1 *Thes.* 4. 3.

6. Gwneuthur cyfammod â'n llygaid, a gochelyd pob rhyw achlysuron o ennyn chwant ynom. 2 *Tim.* 2. 22. *Iago* 1. 15. *Diar.* 5. 8.

7. Ymwrthod â phob cyfeillach anllad. *Eph.* 5. 11.

8. Arferyd priodas yn barchus fel ordinhad Duw, a gweddiaw am fendith Duw ar y stad anrhydeddus hono:—'Rhag godineb bydded i bob gwr ei wraig ei hun.' 1 *Cor.* 7. 2,—9.

C. Pa fodd yr ymddengys y drwg o'r pechod o odineb?

A. 1. Ysgelerder ydyw, a thân a ysa oni anrheithio. *Iob.* 31. 11, 12.

2. Puteinwyr a farna Duw i ddinystr tragywyddol; a melldigedig yw eu rhandir hwy ar y ddaear. *Heb*. 13. 4. *Iob* 24. 18. *Mal*. 3. 5. 1 *Cor*. 6. 9, 10.

3. Mae godineb yn halogi y meddwl, yn dwyn y galon oddiwrth Dduw, yn tori ammod, ac yn damniaw dau enaid ar unwaith. *Hos*. 4. 11. 1 *Cor*. 3. 16, 17. a 6. 15. *Diar*. 2. 19. a 7. 27.

4. Mae Duw yn barnu y godinebwr yn euog o farwolaeth, fel y llofrudd. *Lef*. 20. 10. *Deut*. 22. 20, 21.

5. Mae godineb yn dwyn tlodi, gwarth a chlefydau blin, fel melldith Duw arnynt. *Diar*. 6. 26, 33. a 7. 23. a 19. 3.

6. Sodom a Gomorah am eu puteindra, a osodwyd yn siampl, gan ddyoddef dialedd tân tragywyddol. *Gen*. 19. *Iudas* 7.

C. Beth sydd i'w weled yn mhellach yn nrych y gorchymyn hwn?

A. 1. Doethineb a daioni trefn Duw ar y byd, yn ein gosod ni yn y modd goreu i fyw ynddo er ein cysur a'n hamgeledd:—'Bydded i bob gwr ei wraig ei hun, yn amgeledd gymhwys iddo.' *Gen*. 2. 1 *Cor*. 7. 2.

2. Purdeb ac uniondeb Duw yn gwahardd halogedigaeth, a phob ymddygiad yn tueddu i hyny. *Mat*. 5. 28.

3. Dwfn halogedigaeth dyn trwy y cwymp, fel y mae holl fwriad meddylfryd ei galon yn ddrygionus bob amser:—'O'r galon y mae meddyliau drwg yn dyfod allan, tor-priodasau, godinebau.' *Mat*. 15. 19.

7. Gwerthfawrogrwydd anfeidrol gwaed Crist, yr hwn sydd yn glanâu oddiwrth bob pechod. 1 *Ioan* 1. 7.

5. Yr anghenrheidrwydd anhebgorol o olchiad yr adenedigaeth ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân. *Tit*. 3. 5.

6. Ein hanghen o fyw trwy ffydd ar addewidion Duw, fel y gallom ymlanâu oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw. 2 *Cor*. 7. 1.

## YR WYTHFED GORCHYMYN.

### CWESTIWN.

BETH yw yr Wythfed Gorchymyn?

ATTEB. 'Na ladrata.'

C. Yn nghylch pa beth mae y gorchymyn hwn?

A. Yn nghylch boddlonrwydd i'r hyn sydd genym, a chywirdeb ac onestrwydd tu ag at feddiannau ereill.

C. Beth sydd ddyledus arnom tu ag at ein bywioliaeth yma yn y byd?

A. 1. Ymddiried yn yr Arglwydd a'i ofal am danom. 1 *Petr* 5. 7.

2. Byw yn ddiariangar, a bod yn foddlawn i'r hyn sydd genym. *Heb*. 13. 5.

3. Gweddiaw am ein bara beunyddiol. *Mat*. 6. 11.

4. Gweithiaw yn ddiwyd yn ein galwedigaethau am fywioliaeth onest. *Eph.* 4. 28. *Diar.* 28. 19. 2 *Thes.* 3. 10.

5. Byw yn sobr ac yn ddiwastraff mewn bwydydd a dillad. *Diar.* 21. 17. a 23. 20.

C. A allwn ni ddysgwyl yn y llwybrau hyn, am fendith Duw tu ag at ein cynnaliaeth?

A. Gallwn, yn ddiammeu; canys y mae wedi addaw, 'Ni'th roddaf i fynu, ac ni'th lwyr adawaf chwaith.' *Heb.* 13. 5.

C. Beth yw y pechod blaenorol a waherddir yn y gorchymyn hwn?

A. Cybydd-dod, oddiwrth ba un y mae pob anonestrwydd yn tarddu. 1 *Tim.* 6. 9, 10.

C. Beth yw cybydd-dod?

A. Ariangarwch; sef caru y byd a'r pethau sydd yn y byd, yn lle caru Duw; yn nghyd â thrachwant anghymedrol iddynt. 1 *Tim.* 6. 10. *Ioan* 2. 15. *Col.* 3. 5.

C. O ba wreiddyn mae yr Ysbryd hwn yn tarddu?

A. 1. Oddiwrth ein hanghrediniaeth a'n hanymddiried yn ngofal yr Arglwydd am danom. 1 *Petr* 5. 7.

2. Oddiwrth chwantau bydol, yn chwennych y pethau hyn i borthi ein balchder, ein hesmwythder, a'n moethau cnawdol. *Mat.* 6. 31, 32.

C. Pa weithredoedd o anonestrwydd a waherddir yn y gorchymyn hwn?

A. 1. Pob lladrad a chwilena. *Luc* 16. 10. *Mal.* 3. 8, 9.

2. Pob hoced, a thwyll, a cham-fesur wrth brynu a gwerthu. *Lef.* 25. 14.

3. Attal talu ein dyled gyfreithlawn a'r hyn a fenthycìom. *Lef.* 19. 13. *Ps.* 37. 21.

4. Syrthni a segurdra trwy yr hyn y mae llawer yn bwyta bara lladrad. 2 *Thes.* 3. 10.

5. Anghymedroldeb mewn bwydydd a diodydd, trwy yr hyn y mae eiddo ereill yn cael eu dyfetha yn aml.

6. Pob annhrugarogrwydd, yr hyn sydd yn yspeiliaw y tlawd o'r hyn a roddodd Duw iddo. 1 *Ioan* 3. 17. *Diar.* 17. 3, 9, 10. *Mat.* 5. 42. *Deut.* 23. 20. *Eph.* 4. 28.

7. Cardota afreidiol, yr hyn sydd yn yspeiliaw gwir dlodion o'r hyn sydd ddyledus iddynt.

8. Pob math a'r dwyll a chamwedd, a phob peth a fyddo yn niweidiol i lesâad bydol ein cymmydog. *Lef.* 19. 11. *Deut.* 25. 16. 1 *Thes.* 4. 6.

9. Pob gorthrymder a thrais mewn cyflogau, trwy ocraeth, neu mewn trethi, neu ardreth. 1 *Cor* 5. 11. a 6. 10.

10. Pob ffordd anghyfreithlawn o elwa; megys chwareu-damwain, cyngwystlo, cwrw cymhorth. *Heb* 2. 15. *Diar* 13. 15. a 21. 17. a 23. 20.

11. Denu gweinidogion neu fasnachwyr oddi ar ereill, a dwyn eu masnach, neu eu tiroedd, oddi arnynt er eu niwed. *Esa* 5. 8. *Mic* 2. 2.

12. Toredigaeth anonest ac anghywir, trwy wastraff, segurdod, neu dwyll; darn-guddio, ac anffyddlondeb. *Ier* 9. 4, 6.

13. Attal oddiwrth achos Duw yr hyn sydd

ddyledus tu ag at ei gynnal yn anrhydeddus yn y byd. *Neh.* 10. 32, 33. a 13. 10. *Mal.* 3. 19.

C. Pa bethau a erchir yn y gorchymyn hwn?

A. Heblaw erchi ymattal rhag y pechodau a enwyd, y mae yn erchi, 1. Iawn ddefnyddiaw ein meddiannau fel goruchwylwyr Duw, ac sydd i roddi cyfrif iddo am danynt. *Luc* 16. 10, 12. 1 *Tim.* 6. 17, 18.

2. Cymeryd yn llawen ein cyfraid o drugareddau Duw at gynnal ac amgeleddu ein natur yn mhob ystyr. *Preg.* 2. 4. a 3. 12, 13. *Ps.* 128. 2.

3. Edrych yn ddiesgeulus am ein heiddo, fel na byddo gwastraff nac afrad mewn dim. *Diar.* 27, 18, 23, 26.

4. Gweddiaw am ras i'n dysgu i ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, ac i fyw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awr hon. *Tit.* 2. 11, 12.

5. Rhagflaenu colled ereill hyd y mae ynom. *Deut.* 22. 1, 3.

6. Ceisiaw llwyddiant ereill fel yr eiddom ein hunain. *Phil.* 2. 4.

7. Cywerthu mor gyfiawn a chymwynasol âg ereill, ag yr ewyllysiem i ereill cywerthu â ni. *Mat.* 7. 12.

8. Iawni pob cam a wnaethom âg ereill mewn dim. *Lef.* 6. 2, 3, 4, 5. *Luc.* 19. 8.

C. Pa fodd yr ymddengys y drwg o drachwant bydol cybyddlyd?

A. Mae trachwant bydol yn elyniaeth yn

erbyn Duw a'i lywodraeth ar y byd. *Rhuf.* 8. 7.

2. Mae cybydd-dod yn eilun-addoliaeth, a gwaeau Duw yn cael eu cyhoeddi yn ei erbyn. *Hab.* 2. 9. 2 *Petr* 2. 14. *Col.* 3. 5. *Iago* 4. 4.

3. Y rhai sydd yn ewyllysiaw ymgyfoethogi sydd yn syrthiaw i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sydd yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth. 1 *Tim.* 6. 9.

4. Mae trachwant bydol yn terfysgu teuluoedd, a chymmydogaethau, yn llygru ac yn gofidiaw y galon, ac yn byrâu oes llawer. *Diar.* 15. 27. *Ier.* 17. 11.

5. Mae Duw yn digiaw yn erchyll wrth y cybydd, ac yn ei daraw yn y diwedd:—'Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, ac y tarewais ef.' *Esa.* 57. 17. 1 *Cor.* 5. 11.

6. Mae trachwant y byd yn peri i ni angharu Duw, ac yn ein caledu tan air Duw. 1 *Ioan* 2. 15. *Luc* 16. 13, 14. *Mat.* 13. 22. a 22. 3—5. *Ezec.* 33. 31. *Act.* 16. 19.

C. Beth sydd i'w weled yn mhellach yn nrych y gorchymyn hwn?

A. I Uniondeb a chyfiawnder Duw, yn gorchymyn i ni wneuthur i ereill fel y dymunem iddynt hwy wneuthur i ni. *Mat.* 7. 12.

2. Fod hawl neillduol gan bob un i'r meddianau cyfreithlawn sydd ganddo. *Mat.* 22. 21.

3. Fod gan Dduw waith i bob un wneuthur â'i eiddo, ac y mae i roddi cyfrif am dano; am hyny ni oddef i neb ei gymeryd oddi wrtho yn anghyfreithlawn. *Luc.* 16. 2.

4. Yr anghen mawr o'r Yrbryd Glân i adnewyddu ysbryd uniawn oddi fewn i ni. *Ps.* 51. 8.

5. Gwerthfawrogrwydd Crist a'i gyfiawnder, yr hwn a dalodd yr hyn ni chymerodd. *Ps.* 69. 4.

---

## Y NAWFED GORCHYMYN.

### CWESTIWN.

BETH yw y Nawfed Gorchymyn;

ATTEB. 'Na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog.'

C. Am ba beth y mae y nawfed gorchymyn?

A. Am gyfiawnder a gwirionedd yn ein geiriau.

C. A ydyw geiriau anghywir ac anaddas yn bechodau mawrion?

A. Ydynt yn ddïammeu; am hyny y rhoddir dau orchymyn y'nghylch ein geiriau, sef y trydydd a'r nawfed. *Diar.* 12. 22. *Ioan* 8. 44. *Dat.* 21. 8.

C. Am ba beth mae y trydydd gorchymyn?

A. Am fod ein geiriau yn barchus ac yn sanctaidd am Dduw a phob peth a berthyn iddo.

C. Am ba beth mae y nawfed?

A. Am fod ein geiriau yn gywir ac yn sanctaidd wrth, ac am ein cymmydog, a phob peth a berthyn iddo.

C. Pa bechodau a waherddir yn y nawfed gorchymyn?

A. 1. Pob celwydd. *Diar.* 12. 22. *Eph.* 4. 25.

2. Pob cam lw, neu wobrwyo ereill i dyngu yn anudon. *Lef.* 19. 12. 1 *Bren.* 19.

3. Pob peth a fyddo yn tueddu i niweidiaw ein cymmydog yn ei enw da. 1 Sam. 17. 28. a 1. 16.

4. Pob athrod, enllib, neu hustyng. *Exod.* 23. 1. *Deut.* 27. 24.

5. Pob cam achwynion a cham farn. *Exod.* 23. 6. *Lef.* 19. 15, 35. 2 *Cron.* 19. 6.

6. Anffyddlondeb i ammodau cyfreithlawn. *Rhuf.* 1. 31. 2 *Tim.* 3. 3. *Ier.* 9. 3, 6.

C. Pa ddyledswyddau a gynnwysir yn y nawfed gorchymyn?

A. 1. Tystiolaethu y gwir, fel na oddefo neb gam yn eu henwau nac eu meddiannau o'n hachos. *Diar.* 12. 17.

2. Cuddiaw beiau ereill ac nid eu cyhoeddi yn ddiachos er eu gwaradwydd. *Diar.* 10. 12. a 17. 9.

3. Peidiaw derbyn enllib yn erbyn neb. *Diar.* 25. 23.

4. Amddiffyn ereill pan y cyhuddir hwynt ar gam. 1 Sam. 22. 14.

5. Gosod ein hwynebau yn erbyn hustyngwyr ac athrodwyr. *Diar.* 25. 23.

6. Amddiffyn ein henwau da ein hunain, pan y'n cyhuddir ar gam. *Diar.* 22. 13. *Ioan* 8. 4.

7. Llawenâu yn noniau a gras ereill, a'r

parch dyledus a roddir iddynt. 1 *Cor*. 1. 4, 5, 7. 2 *Tim*. 1. 4, 5.

8. Parodrwydd i dderbyn pob chwedl da: —'Nid yn llawen am anghyfiawnder, ond yn cyd-lawenâu â'r gwirionedd.' 1 *Cor*. 13. 6.

9. Peidiaw ag arferyd geiriau chwyddedig, wrth ddywedyd am danom ein hunain, na geiriau trahaus diystyrllyd, wrth ddywedyd am ereill. *Ps*. 12. 23. 2 *Tim*. 3. 2.

10. Peidiaw ag arferyd gweniaith wrth neb, ond dywedyd y gwir bob un wrth ei gymmydog. *Ps*. 12. 2, 3.

C. Pa fodd yr ymddengys y pechadurusrwydd o'r troseddiadau o'r gorchymyn hwn?

A. 1. Ffiaidd gan yr Arglwydd wefusau celwyddog; ac o'u tad diafol y maent. *Diar*. 12. 22. *Ioan* 8. 44.

2. Mae y tafod anllywodraethus yn nôd o ddyn anrasol. *Iago* 1. 26.

3. Mae Duw yn gorchymyn gwneuthur i'r neb a dystio ar gam, megys ag yr oedd efe yn bwriadu i ereill. *Deut*. 19. 19.

4. Mae yr athrodwr a'r gau dyst yn felldith i bob cymdeithas, ac yn dinygu pawb o'i amgylch. *Ps*. 52. 4, 5, 6. *Iago*. 3. 3, 4, 5, 6, &c.

5. Ni oddef Duw iddynt fyned yn ddigerydd. *Diar*. 19. 5.

6. Trysorau a gesglir â thafod celwyddog, a chwelir megys gwagedd. *Diar*. 21. 6.

7. Yn ol ein geiriau y'n condemnir, neu y'n cyfiawnêir yn nydd y farn. *Mat*. 12. 37.

C. Beth yn mhellach sydd i'w weled yn nrych y gorchymyn hwn?

A. 1. Tiriondeb a daioni Duw yn gofalu am ein henwau da a'n hanrhydedd dyledus yn mhlith ein gilydd.

2. Mor llygredig yw calon dyn, gan fod ffrydiau mor wenwynllyd yn dylifaw allan o honi :—'O'r galon y mae cam-dystiolaethau yn dyfod allan, a chableddau. Dyma y pethau sydd yn halogi dyn. *Mat.* 15. 19, 20.

3. Gwerthfawrogrwydd cyfiawnder Crist i bechadur euog, yr hwn ni chaed twyll yn ei enau. 1 *Petr.* 2. 22.

4. Yr anghenrheidrwydd am i'r Ysbryd Glân ysgrifenu y gorchymyn hwn ar ein calonau, fel y byddo ein tafodau dan attalfa, a'n geiriau yn anaml :—'Od oes neb heb lithro ar air, gwr perffaith yw hwnw, yn gallu ffrwyno yr holl gorph hefyd.' *Iago* 3. 2.

5. Yr anghen o wyliadwriaeth fanwl, i gadw ein ffyrdd rhag pechu â'n tafod. *Ps.* 39. 1.

6. Yr anghen o osod ein hunain dan rwymau na ddywedom am feiau ereill, ond pan y byddo yn ddyledswydd arnom.

## Y DEGFED GORCHYMYN.

### CWESTIWN.

BETH yw y Degfed Gorchymyn?

ATTEB. 'Na chwennych dŷ dy gymmydog, 'na chwennych wraig dy gymmydog, na'i 'wasanaethwr, na'i wasanaethferch, na'i ŷch,

'na'i asyn, na dim a'r sydd eiddo dy gymmy-
'dog.

C. Beth sydd waharddedig yn y gorchymyn hwn?

A. Chwant dirgelaidd a phechadurus y galon; o ba un y mae pob drwg yn tarddu.

C. A ydyw cyfraith Duw yn cyrhaedd at chwennychiad, meddwl, a bwriad y galon?

A. Ydyw, mae y gyfraith yn ysbrydol, ac yn dra ëang. *Ps.* 119. 96. *Rhuf.* 7. 14.

C. Beth y geilw yr ysgrythyr y chwant hwn?

A. 1. Yr hen ddyn; am ei fod yn wreiddiol ynom, ac yn llygru yr holl ddyn. *Eph.* 4. 22. *Col.* 3. 9.

2. Pechod yn trigaw ynom; oblegid ei arosfa gref a pharâus yn yr enaid. *Rhuf.* 7. 20.

3. Deddf pechod; am ei bod yn llywodraethu yn gref ar bob pechadur diadgenedledig. *Rhuf.* 8. 2.

4. Y cnawd, a deddf yn yr aelodau. *Rhuf.* 7. 23. *Gal.* 5. 17.

C. Pa fodd yr ymddengys fod chwant tufewnol hwn yn bechod?

A. 1. Am ei fod yn wrthryfel yn erbyn Duw, a holl drefniadau ei rhagluniaeth. *Rhuf.* 8. 7.

2. Am ei fod yn llygru yr holl ddyn, enaid a chorph, ac yn ein gwneuthur ni yn agored i ddigofaint Duw. *Eph.* 2. 2, 3. *Rhuf.* 7. 16, 19. *Eph.* 5. 5. *Col.* 3. 5.

3. Trwy ufuddâu i bechod yn ei chwantau,

yr ydym yn gaethweision i bechod a diafol. *Rhuf.* 7. 12, 16.

4. Am ei fod yn wreiddyn ar ba un y mae pob pechod gweithredol yn tyfu. *Gal.* 5. 19.

5. Am ei fod yn cyffròi yn llidgar yn wyneb y gorchymyn, ac yn cymeryd achlysur trwy y gorchymyn, i weithiaw ynom bob trachwant. *Rhuf.* 7. 8.

6. Mae yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth. 1 *Tim.* 6. 9.

7. Mae yn ymladd yn erbyn yr enaid. 1 *Petr* 2. 11.

8. Mae yn tagu y gair. *Marc* 4. 19.

C. Os yw pob gorchymyn yn ysbrydol, ac yn cyrhaedd at weithrediadau y galon, beth yw y gwahaniaeth rhwng y gorchymyn hwn a'r lleill?

A. Mae y gorchymyn hwn yn golygu y chwant fel gwreiddyn llygredig yn yr enaid; ond y mae y gorchymynion eraill yn golygu chwant wedi ymddwyn yn nghydsyniad y meddwl â'r drwg dirgelaidd hwn. *Iago* 1. 15.

C. Beth sydd i ni ddysgu oddiwrth y gorchymyn hwn?

A. 1. Dysgu gweled hollol lygriad ein natur dan y cwymp; 'Ni adnabuaswn i drachwant, oni bai ddywedyd o'r ddeddf, na thrachwanta.' *Rhuf.* 7. 7.

2. Mor gwbl annigonol yw cyfiawnder dyn ei hunain i ei gymeradwyaw ger bron Duw. *Phil.* 3. 6, 7, 8.

3. Yr anghenrheidrwydd o galon newydd, ac adnewyddiad yn ysbryd ein meddwl, gan

fod chwant llygredig yn wreiddiol ynom. *Tit.* 3. 3.

4. Bod yn ddyfal i farweiddiaw y chwant hwn ynom trwy yr Ysbryd Glân. *Rhuf.* 8. 13.

5. Bod yn foddlawn i'r cyflwr a'r meddiannau a drefnodd Duw i ni yn y byd, ac ymgais am ei ogoneddu yn y cyflwr hwnw, pa fath bynag a fyddo. *Phil.* 4. 11.

6. Dewis yr Arglwydd yn rhan i ni, yr hwn yn unig a ddigona ein heneidiau. *Ps.* 16. 5. a 63. 5.

7. Gweled gwerth mawr cyfiawnder Crist, trwy yr hwn y cyfiawnheir pob un a'r sydd yn credu, oddiwrth yr holl bethau y rhai ni allem trwy gyfraith Moses gael ein cyfiawnâu oddi wrthynt. *Act.* 13. 39.

DIWEDD.

## BEIAU 'R ARGRAFF—WASG.

| Tu dalen, | Llinell, | Yn lle, | Darllen, |
|---|---|---|---|
| 8 | 18 | gwybodeth | gwybodaeth, |
| 15 | 9 | syd | sydd, |
| 23 | 9 | fawrhaod | fawrhaodd, |
| 23 | 18 | Arglwdd | Arglwydd, |
| 32 | 7 | pethau | phethau, |
| 34 | 22 a'r 23 | gwrionedd | gwirionedd, |
| 39 | 27 a'r 28 | Argwydd | Arglwydd, |
| 48 | 24 | ufudhau | ufuddhau, |
| 49 | 7 | wriddyn | wreiddyn, |
| 52 | 8 a'r 9 | wasanathu | wasanaethu, |
| 52 | 21 | ysyrydol | ysbrydol, |
| 56 | 27 | rwmau | rwymau, |
| 57 | 25 | gorghymyn | gorchymyn, |
| 64 | 2 | medddwl | meddwl, |
| 66 | 31 | Dnw | Duw, |
| 71 | 9 | ddwyedodd | ddywedodd, |
| 71 | 13 | ichydwriaeth | iechydwriaeth, |
| 72 | 17 a'r 18 | eichydwriaeth | iechydwriaeth, |
| 73 | 18 | eir | ei |
| 75 | 25 | arwyddiou | arwyddion, |
| 78 | 15 | withred | weithred, |
| 79 | 5 a'r 6 | ymddangosaid | ymddangosiad. |

D. S. Dymunir caredigrwydd y darllenydd i ddiwygio y beiau uchod, y rhai a ddiangasant o achos lluoedd o anghyfleusderau a gwaeledd mawr.